# LLAWLYFRAU DUWINYDDOL I'R WERIN.

---

**PRIS 1/6 YR UN.**

---

GOLYGWYR:

Proff. D. MIALL EDWARDS, M.A., Aberhonddu.
Parch. RICHARD MORRIS, M.A., B.D., Dolgellau.

---

## 1.—DUW, EI FODOLAETH A'I NATUR:

Gan y PRIFATHRAW T. REES, M.A., Bangor.

## 2.—PERSON CRIST:

Gan y PARCH. RICHARD MORRIS, M.A., B.D., Dolgellau.

---

**EREILL I DDILYN.**

---

CYHOEDDEDIG GAN HUGHES A'I FAB, GWRECSAM.

Llawlyfrau Duwinyddol i'r Werin.

# DUW:
# EI FODOLAETH A'I NATUR.

GAN

THOMAS REES, M.A.,

PRIFATHRAW ATHROFA
BALA-BANGOR.



GWRECSAM:
HUGHES A'I FAB, CYHOEDDWYR.

1910.




CYFLWYNEDIG

I'R

PARCH. J. GRAWYS JONES

O

DDWFN DDYLED A PHARCH

YR AWDWR.

# RHAGYMADRODD Y GOLYGWYR.

---

MAE yn ein bryd i ddwyn allan gyfres o LAWLYFRAU DUWINYDDOL I'R WERIN. Yn y blynyddoedd diweddaf hyn, gwawriodd cyfnod newydd ar genedl y Cymry. Daeth ffrydlif o oleuni a gwybodaeth i'n gwlad drwy ffenestri ein ysgolion a'n hathrofäu. Cyfeirir meddwl ein pobl ieuainc heddyw i feusydd eang gwyddoniaeth, athroniaeth, llenyddiaeth, a hanes. Llawenychwn yn fawr yn yr eangder newydd hwn a ymegyr o flaen ein llygaid. Ond credwn na foddlona'r genedl i dduwinyddiaeth,—"brenhines y gwyddorau,"—golli ei gorsedd, nac i un wyddor arall ei hysbeilio o'i theyrnwialen. Credwn fod calon ein gwlad yn dyheu am y wybodaeth oreu ellir ei chael ar faterion Ysgrythyrol a duwinyddol; ac ni ddylid cyfyngu y wybodaeth honno o fewn muriau yr athrofa a'r fyfyrgell, nac mewn llyfrau drudfawr sydd uwchlaw cyrraedd y werin, nac mewn iaith sydd yn parhau yn estronol i'r galon, er yn dod yn fwyfwy cyfarwydd i'r glust a'r tafod. Cymraeg yw iaith crefydd i filoedd eto yn ein tir, a thra y pery yn iaith crefydd, rhaid iddi hefyd fod yn iaith duwinyddiaeth. Amcan y gyfres hon fydd dwyn i gyrraedd y bobl y wybodaeth oreu a diweddaraf ar y pynciau mawrion sydd yn hen, ac eto fyth yn newydd.

Bydd nifer y llawlyfrau ddygir allan yn dibynnu ar y gefnogaeth a roddir i'r anturiaeth gan y cyhoedd. Ein bwriad ydyw i'r gyfres gynnwys llyfrau ar faterion fel Y Bod o Dduw, Person Crist, yr Ysbryd Glân, Athrawiaeth yr Iawn, Arweiniad i'r Hen Destament, eto i'r Testament Newydd, Bywyd a Dysgeidiaeth Crist, eto Paul, Hanes yr Eglwys, Perthynas yr Eglwys â Phynciau Cymdeithasol, &c. Ymddiriedir y gwahanol faterion hyn i bersonau fo wedi eu gwneyd yn faes arbennig eu hefrydiaeth; ond, fel golygwyr, nid ystyriwn ein hunain yn gyfrifol am yr oll o'u golygiadau. Ni cheisir gosod cadwyn ar feddwl na chydwybod yr awdwyr; cânt ryddid i draethu eu barn yn unol â'r goleuni roddwyd iddynt. Cyfyngwn ein hunain i'r gwaith o ddewis yr awdwyr a'u testynau, ac arolygu y gyfres yn gyffredinol. Gyda chefnogaeth ein cydwladwyr hynaws, ymdrechwn yn y ffordd hon fod o ryw wasanaeth fechan i achos gwirionedd a chrefydd yn ein gwlad.

RICHARD MORRIS.
D. MIALL EDWARDS.

# RHAGAIR.

BWRIADWYD y llyfryn hwn i roddi cipdrem ar y prif gwestiynau a godant o berthynas i sylfeini crefydd, a chrynodeb o'r rhesymau dros gredu fod Duw, a'i fod yn gyfryw un ag y cred Cristionogion ei fod. Nid oedd dim o'r fath o'r blaen at wasanaeth darllenwyr Cymraeg. Gosodwyd y terfynau gan y Golygwyr, a rhaid oedd bod yn fyrr, ond ceisiwyd gosod ger bron yn deg ac eglur yr holl brif wrthddadleuon yn erbyn sylfeini crefydd, a rhoddwyd yr atebion mor syml ag y gellid. Ceisiwyd cadw'r tudalennau yn lân oddiwrth eiriau Saesonaeg, ond yn y Mynegai ar y diwedd ceir cyfystyron Saesonaeg termau anghyfarwydd. Ni phroffesa yr awdwr un gwreiddiolder, a chymaint yw ei ddyled i gynifer o awduron fel y byddai yn amhosibl cyfeirio atynt bob yn un ac un. Gall gydnabod ei ddyled fwyaf, ac ar yr un pryd wasanaethu'r darllennydd a hoffai wybod rhagor am y pynciau a drinir, wrth nodi tri llyfr y byddai yn dda i'r darllennydd ymchwilgar eu myfyrio, ac yn y drefn ganlynol,—sef, *Outline of Metaphysics*, gan yr Athraw J. S. Mackenzie, o goleg Caerdydd, *Naturalism and Agnosticism*, gan yr Athraw James Ward o Gaergrawnt, a *Philosophy of the Christian Religion*, gan Dr. A. M. Fairbairn, diweddar Brifathraw Coleg Mansfield yn Rhydychain.

T. REES.

*Athrofa Bala-Bangor,*
*Tachwedd*, 1910.

# CYNHWYSIAD.

# DUW:

## EI FODOLAETH A'I NATUR.

---

### I

### Y CWESTIWN.

1. *Lle Duw mewn bywyd a meddwl.*—Sylfaen pob crefydd a chanolbwynt pob duwinyddiaeth yw Duw. Gosodiad diangenrhaid fydd hwn yng ngolwg llawer, am y cymerant ef yn ganiataol, ond dengys ystyriaeth fanylach mai nid gosodiad ofer ydyw; oblegid un o ffurfiau mwyaf cyffredin anffyddiaeth, neu wendid ffydd y cyfnod presennol yw rhyw grefydd-older cyffredinol a maswaidd, na fynn ganol-bwyntio mewn unrhyw syniad arbennig am Dduw, na sylweddoli unrhyw berthynas neilltuol âg ef. Ychydig yw gwadwyr crefydd, ond y mae esgeuluswyr Duw yn llawer; yn hytrach nag arddel eu hunain yn ddigrefydd, mynn rhai mai crefydd iddynt hwy yw Sosial-aeth, ac ereill wyddoniaeth, ac ereill lenyddiaeth, a chydnebydd pawb ryw ddelfryd sydd yn hawlio eu parch a'u hufudd-dod. Ffolineb a rhyfyg fyddai diystyrru y crefyddolder cyffredinol hwn, oblegid cynhwysa addewid

pethau gwell; ond fel y mae, nis gall roddi i fywyd nôd clir nac egwyddorion cedyrn i'w lywodraethu, ac y mae y meddwl dynol yn rhy ymarferol i aros yn hir ynddo.

2. *Crefyddau di-dduw Buddha a Comte.*—Tystiolaeth hanes yw nad erys crefydd heb Dduw neu dduwiau yn wrthrych iddi. Yn yr hen fyd cychwynnodd Buddhiaeth fel cyfundrefn foesol yn unig, yn gorffwys ar gariad ac hunanymwadiad, ond nid cynt y bu farw ei sylfaenydd nag y trowyd y gyfundrefn foesol yn grefydd, ac y gwnaed Gôtama Buddha ei hunan yn dduw, i dderbyn ufudd-dod ac addoliad ei ganlynwyr. Yn y ganrif ddiweddaf, ymgymerodd yr athronydd Ffrengig Auguste Comte a llunio cyfundrefn o wybodaeth ac ymarweddiad i gymeryd lle Cristionogaeth, a dybiasai efe oedd ar drengu. Prif bwynt y system newydd oedd ceisio gwybodaeth wyddonol o'r byd allanol, fel y gellid ei ddefnyddio i wasanaeth dyn; ond nis gallodd Comte orffen ei deml heb dduw, a gwneyd Dynoliaeth yn dduw a wnaeth ef, gosod Dynoliaeth ddelfrydol y gorffennol, y presennol a'r dyfodol, yn wrthrych serch, ufudd-dod, ac addoliad dyn. Ac at Ddynoliaeth maes o law ychwanegodd y Ddaear a'r Eangder i gyflawni Trindod ddwyfol ei grefydd newydd. A cheir arwyddion fod yr un egwyddor yn datguddio ei hunan yng nghrefyddolder di-dduw y dyddiau hyn, sef y mynn dynion o hyd rywfath o dduw

yn ganolbwynt eu bywyd, ac os gwrthodant y duwiau fu, y lluniant dduwiau newyddion yn eu lle.

3. *Mathau ac achosion amheuaeth.*—Cymharol ychydig fu nifer a phwysigrwydd y sawl erioed a wadent yn bendant fodolaeth Duw a gwirionedd crefydd, a phobl oedd y rhai hynny wedi cael profiad mor chwerw o grefydd, ac o sefydliadau crefyddol, mewn rhyw ffurfiau gau a llygredig, nes troi ymaith ar ffrwst o dan ddylanwad teimlad, oddiwrth bob peth a ddygai enw crefydd ; ond nis gallodd unrhyw nifer o ddynion aros am amser hir mewn sefyllfa o'r fath honno. Prin y ceir neb heddyw yn gwadu bodolaeth Duw nac yn gwrthod crefydd yn llwyr ; yn hytrach gwrthod a wneir syniadau pendant, ac yn arbennig y syniad Cristionogol am Dduw. Nid gwrthwynebiad i grefydd sydd, yn gymaint a gwrthwynebiad i'r ffurfiau o grefydd a etifeddwyd o'r gorffennol, ac a gynhygir gan eglwysi, duwinyddion a phregethwyr, neu o leiaf a dybir eu bod yn eu cynnyg. Oblegid y mae llawer o lenyddiaeth anffyddol y cyfnod presennol, megis eiddo Haeckel, yn ymgodymu âg ysbrydion hen athrawiaethau a ddelid yn y ddeunawfed ganrif, ond na fynnai un athronydd neu dduwinydd Cristionogol eu hamddiffyn heddyw. Ar yr un pryd, rhaid addef fod llawer yn yr eglwysi yn llochesu ysbrydion y pethau meirw hyn fel uniongredaeth anffaeledig a gwirionedd disyfl y

grefydd Gristionogol, a hynny rydd bwynt a grym i'r ymosodiadau cyffredin ar grefydd.

4. *Deistiaeth.*—Nid heb achos, ac nid heb fantais i grefydd a gwirionedd y trodd anghrediniaeth i rwygo athroniaeth grefyddol y ddeunawfed ganrif. Mynnai duwinyddion y cyfnod hwnnw, a mynn rhai eto, amddiffyn Cristionogaeth fel y mynn rhai gwladweinwyr amddiffyn masnach gwlad, trwy gastellu o'i hamgylch â chredoau ac awdurdodau anffaeledig, a'i chau i fewn ymhell o gyrraedd cystadleuaeth a beirniadaeth natur a rheswm, gwyddoniaeth ac athroniaeth. Rhannent wirionedd ysbrydol yn ddau, sef crefydd naturiol a chrefydd ddatguddiedig neu oruwchnaturiol; cynhwysai y gyntaf yr oll a ellid wybod am Dduw oddiwrth natur a'r bydysawd, a'r olaf yr oll a ddysgid am dano yn y Beibl. Tybid y gellid profi bodolaeth, gallu a doethineb Duw, oddiwrth olion ei waith yn y cread, fel y gwelir gallu a medr saer yn y dodrefnyn a wnaeth; ond rhaid oedd derbyn gwirioneddau mwyaf gwahaniaethol Cristionogaeth, megis y Drindod, yr Ymgnawdoliad, a'r Iawn, y gwirioneddau datguddiedig, ar awdurdod yn unig, ac nis goddefai'r awdurdod honno ei holi mewn dim gan athroniaeth na rheswm. Yr eithaf feiddiai athroniaeth grefyddol ofyn oedd na byddai mewn crefydd ddatguddiedig ddim yn groes i natur a rheswm, ond anaml y caniateid iddi hynny, am mai'r

dŷb gyffredin oedd fod hanfodion Cristionogaeth uwchlaw natur, y tu allan i natur, a phan ddeuent i gyffyrddiad â natur, yn groes iddi.

5. *Duw Deistiaeth.*—Cyfyngai'r gyfundrefn hon Dduw y tu allan i'w gread, a gwnai Ef felly yn Fôd meidrol. Gosodai Dduw a natur mewn gwrthgyferbyniad anghymodlawn i'w gilydd; ac nis gallai Duw ddychwelyd i'r cread i gyflawni ynddo ei amcanion heb dorri ar ei drefn wreiddiol trwy weithredoedd gwyrthiol neu oruwchnaturiol; gorffennodd a gadawodd Efe y cread ar y dechreu mor amherffaith, fel y bu raid iddo megis crefftwr anghelfydd, ddychwelyd i wella ei golliadau a'i gamgymeriadau gwreiddiol. Nid oedd gwaith pennaf a datguddiad uwchaf Duw yng Nghrist ond rhyw ail-feddwl yn codi o anffawd a damwain cwymp dyn. Ymddangosai Duw yn ddau Fôd gwahanol, fel y profid ei fodolaeth yn y cread, ac fel y datguddiai'r Beibl ei natur. Yr oedd Duw crefydd naturiol mor bell, egwan a diffygiol, fel nad oedd neb lawer gwell o brofi ei fodolaeth; a Duw crefydd ddatguddiedig mor groes i reswm, natur, a bywyd cyffredin, fel os credai neb ynddo, mai creu rhaniad a dyryswch yn eu bywydau a wnai, yn hytrach na "chymodi pob peth âg ef ei hun, pa un bynnag ai pethau ar y ddaear, ai pethau yn y nefoedd." Nid oedd gan hynny le iddo gan y rhelyw o ddynion, oddieithr mewn adwyau ac argyfyngau pan

beidiai y byd allanol a bod o werth a dyddordeb iddynt.

6. *Crefydd Offeiriadol.*—Etifeddiaeth oedd y system uchod o athroniaeth Thomas Aquinas ac ereill o dadau Pabyddol y canol oesoedd, ac ar ei chynseiliau hi y gorffwys Pabyddiaeth hyd y dydd hwn. Cyd-dyfodd â'r syniad offeiriadol am grefydd, a'i hegwyddorion hi yw grym awdurdod yr offeiriad fel ficer neu gynrychiolydd Duw yn y byd. Gwahenir Duw a'r byd oddiwrth eu gilydd; rhennir gweithredoedd Duw yn naturiol a goruwch-naturiol, a dangosir fod natur yn gyfrwng rhy egwan, ac hyd y nod rhy elynol, i uno Duw â dyn, na dwyn i ddyn ddigonedd Duw; rhaid i Dduw gan hynny weithredu trwy gyfryngau gwyrthiol neu oruwchnaturiol, ac i sicrhau presenoldeb parhaus y fath gyfryngau o hyd cyrraedd dyn, dywedir iddo osod i fyny eglwys ac offeiriadaeth anffaeledig i weinyddu ei awdurdod a'i allu goruwchnaturiol Ef mewn byd oedd ei hunan yn amddifad o hono. Nid anhawdd oedd i feirniaid athronyddol i ddangos diffygion y fath gyfundrefn, ac yr oedd y ffaith ei bod yn gysylltiedig âg hanes yr eglwys yn ei chyfnodau mwyaf llygredig, ac wedi ei dal a'i hamddiffyn gan lawer o wŷr mwy enwog am eu drygau a'u camwri, nag am eu crefydd a'u moes, yn gymhelliad ychwanegol i'w gwrthod; nid oedd hynny ynddo'i hunan yn sail resymol i'w chondemnio, oblegid gall dynion drwg

broffesu credo dda; ond mewn gwirionedd yr oedd yr athroniaeth hon yn hanfodol oblygedig yn y gyfundrefn eglwysig a fu gyfrifol am lygriad crefydd a moes yn y canol oesoedd; dim ond eglwys dybiai fod Duw ymhell allasai suddo i lygredd mor ddwfn.

7. *Crefydd a Gwyddoniaeth.*—At hyn oll, yr oedd y system hon, wrth gau Duw y tu allan i'r byd, a chyfrif ei holl waith presennol yn y byd fel gwyrthiau goruwchnaturiol, ac hyd y nod gwrthnaturiol, wedi gosod crefydd a gwyddoniaeth ar wahan, ac yn groes i'w gilydd. Caniatawyd i wyddoniaeth i esbonio natur heb gymeryd Duw i'r cyfrif, a chan mai ar ryw diriogaethau gwyrthiol y tu allan i gwrs arferol natur y gweithiai Efe, yr oedd pob cynnydd a wnai gwyddoniaeth, pob eangiad ar gwrs rhesymol natur, yn golygu cyfyngu ar diriogaeth Duw, hyd nes o'r diwedd y daeth gwyddoniaeth i hawlio ei bod wedi ennill y cyfanfyd iddi ei hunan, a gyrru Duw allan o hono. Yn ddiamheuol, ateg gryfaf anghrediniaeth ddiweddar yw y syniad sydd gan lawer o bobl fod gwyddoniaeth o'i thu hi, ac yn erbyn crefydd. Y mae gwyddoniaeth yn ymwneyd â ffeithiau cyffredin profiad, ac yn eu hesbonio yn ol syniadau a deddfau rheswm dyn; y mae ei gwirionedd yn apelio yn uniongyrchol at bob bôd rhesymol, ac anhawdd yw credu y gall cyfundrefn arall, mewn gwrthgyferbyniad a gwrthdarawiad â hi, fod hefyd yn wirionedd.

Os yw gwirionedd yn bwrw allan wirionedd, a theyrnas rheswm wedi ymrannu yn ei herbyn ei hun, pa fodd y saif dim gwirionedd na rheswm? Gafael deuoliaeth Ddeistaidd y ddeunawfed ganrif ar feddwl y werin, a chynnydd amlwg gwyddoniaeth yw grym mwyaf anghrediniaeth heddyw; os yw teyrnasoedd crefydd a rheswm yn ddwy, ac yn groes i'w gilydd, y mae yn amlwg y tu hwnt i bob amheuaeth mai yr olaf sydd yn ennill y dydd.

8. *Duw a Natur.*—Gofynnol gan hynny yw ceisio a geir syniad o Dduw sydd yn gyson â rheswm ac â datguddiad, i'w ganfod mewn natur, ac i'w sylweddoli mewn cymundeb ysbrydol. Nid oes un achos i rannu gwirionedd yn ddwy deyrnas, oblegid un gwirionedd sydd ac a all fod, pa un bynnag ai rheswm, neu ddatguddiad, neu beth arall fo ei gyfrwng. Nis gall Duw ddatguddio dim am dano'i hunan, oddieithr bod rheswm dyn yn effro i ymaflyd yn y datguddiad, ac nis gall rheswm ddarganfod dim am Dduw trwy unrhyw ymchwil, oddieithr i Dduw ei fynegi am dano'i hunan. Diau fod Duw yn llefaru "lawer gwaith, mewn llawer modd," ac weithiau yn fwy eglur a chyflawn na'i gilydd, ond yr un gwirionedd a lefara, yr un Duw a ddatguddir, a'r un hefyd yw egwyddorion a deddfau ei holl weithrediadau. Nid oes un rheswm digonol dros dynnu llinell ddisyfyd ar draws ffeithiau profiad dynoliaeth, a galw'r naill ochr iddi yn naturiol,

a'r llall yn oruwchnaturiol; o safbwynt Duw, y mae ei holl waith Ef yn naturiol, yn cael ei gyflawni yn ol bwriadau ei ddoethineb a'i gariad tragwyddol; ac o safbwynt y byd y mae'r oll yn oruwchnaturiol, am ei fod yn cael ei ystyr a'i achos, nid o hono'i hunan, ond o Dduw. Os mai byd Duw yw hwn, y mae proffwyd o leiaf mor naturiol ynddo a gwydd onydd, ac os nad byd Duw ydyw, y mae genedigaeth yn fwy gwyrthiol nag adgyfodiad. Os ymddengys ffaith neu ddosbarth o ffeithiau fel pe baent y tu allan i natur, y rheswm yw fod ein syniad am natur yn rhy gyfyng a thlawd; a gorchwyl athroniaeth yw egluro natur mewn drychfeddwl neu system fo'n cynghaneddu holl ffeithiau profiad ynddi, ac os bydd y syniad hwnnw yn edrych y tu hwnt i bob peth gweledig i fyny at Dduw, tystia fod i natur oll ochr oruwchnaturiol. Gorffwysa crefydd a'i gwrthrych felly nid ar ryw ynysoedd gwasgaredig o oruwchnaturiol yn nofio ym môr natur, ac mewn perygl o gael eu llyncu ganddo, nid ar ryw ychydig o weithredoedd dirgel a gwyrthiol, ond ar eangder agored maes profiad a rheswm dynoliaeth. Nid yn yr uchder na'r dyfnder, nid yn yr eithriadol na'r dirgelaidd y mae Duw, ond yn y pethau cyffredin ac amlwg i bob dyn, "yn agos atat, yn dy enau, ac yn dy galon."

9. *Natur prawfion crefydd.*—Pa fodd ynte y gellir profi bodolaeth a natur Duw felly? Y

mae o'r pwys mwyaf i sylweddoli o'r dechreu nas gellir cael syniad na phrawf am Dduw, nac am un ffaith ysbrydol, o natur mor syml ac eglur a rhifyddiaeth neu fesuroniaeth; pethau bach allanol a therfynedig yw y rhai y gellir eu rhifo a'u mesur a darfod â hwynt, ond y mae cynnwys mewnol profiad dyn yn rhy fawr a chyfoethog i'w amgylchynnu a'i symio o fewn lle ac amser. Wedi mesur a phwyso carreg lwyd, nid oes lawer mwy i'w ddweyd am dani, ond prin y byddai hynny yn ddechreu desgrifio blodeuyn a thrychfilyn ac aderyn a dyn. Llai fyth y gwasanaetha categoriau a phrawfion mesuronol i egluro'r bôd o Dduw. Ceir gweld hefyd mai anigonol yw dulliau a ffurf-reolau arferol rhesymeg draddodiadol i brofi fod Duw; yn y cyfreswm cyffredin lle y tynnir casgliad o gynseiliau, y mae yn ofynnol fod seiliau'r prawf yn fwy na'r hyn a brofir; ond pa gynseiliau felly sydd y gellir casglu Duw oddiwrthynt? Hefyd nid yw wiw ceisio profi *bodolaeth* Duw yn unig, oblegid nid oes synwyr nac ystyr mewn bodolaeth heb fôd, ac nis gellir dangos fod Duw, heb ar yr un pryd ddangos i ryw raddau pa fath un ydyw. Rhaid i'r prawf felly fod yn ddwyochrog, yn egluro'r syniad o Dduw, ac yn dangos ei wirionedd. Rhyw rybuddion negyddol yw y rhai hyn, beth na all fod, a pheth na ddylid disgwyl, yn brawf fod Duw, ond erys y cwestiwn, beth fydd yn brawf o wirionedd y syniad? Beth yw gwirionedd? Nis gellir yn y fan hon wneyd rhagor nag

awgrymu atebiad. Yr athrawiaeth neu'r gyfundrefn honno sydd yn wir fedr gasglu iddi ei hunan fwyaf o ffeithiau profiad, a'u gosod mewn cydgord a chysondeb mewn perthynas â'u gilydd. Drychfeddyliau rheswm yw'r cynllun, a ffeithiau profiad yw'r defnydd sydd gan bob dyn i adeiladu ohonynt deml gwirionedd; y syniad llawnaf o wirionedd yw yr un all ddal ynghyd y dyrfa fwyaf o ffeithiau bywyd mewn heddwch a chynghanedd â'u gilydd.

10. *Cynllun y prawf.*—Nôd ein hymchwil felly yw, cael syniad o Dduw fydd hefyd yn gyfundrefn athronyddol a esbonia ffeithiau adnabyddus y cyfanfyd yn fwy cyflawn, cyson a rhesymol, na'r un gyfundrefn arall. Os gellir dangos ar y naill law fod esboniadau di-dduw o'r cread yn anghyson neu ddiffygiol, ac ar y llaw arall, fod gennym syniad am Dduw sydd yn esboniad digonol, neu yn esboniad mwy digonol na'r un arall ar ffeithiau'r cyfanfyd, bydd y syniad hwnnw wedi ei brofi yn wir, o leiaf mor bell ag y gellir profi dim yn wir yn y byd hwn. Awgryma hyn gyfundrefn gyfan o dduwinyddiaeth yn ymdrin â bôd, natur, a phriodoleddau Duw yn eu holl agweddau a'u cysylltiadau, a diau mai hynny fyddai'r prawf cyflawn; ond ni fwriedir yma ond ymdrin â'r amlinelliad noethaf sydd bosibl o'r syniad yn ei berthynasau mwyaf cyffredinol. Cyffyrddir yn hytrach âg athroniaeth nag â

duwinyddiaeth Duw; nid oes linell wahaniaethol hollol rhwng y ddau, ond golyga'r naill ymdriniaeth âg egwyddorion cyffredinol bodolaeth Duw, yn ei berthynas â'r byd ac â phrofiad dyn, a'r llall ymdriniaeth fanylach âg Ef yn ei hanfod fewnol, fel y bodola ynddo ei hunan ac mewn perthynas fewnol â dyn. Cam cyntaf ein hymchwil fydd gosod ger bron mewn amlinelliad y syniad o Dduw y ceisir ei brofi; yna ystyrrir y prif wrth-ddadleuon a godwyd ar hyd yr oesau yn erbyn y syniad; ac wedi hynny nodir y ffeithiau cyffredinol y rhaid i'r syniad eu cysoni a'u hegluro er cael ei sefydlu arnynt ac ynddynt; ac yn olaf ymdrinir â'r prawfion traddodiadol ac arferol o fodolaeth Duw, y gwrthwynebiadau iddynt, y gwirionedd a gynhwysant, a'r modd y gellir gosod y gwirionedd hwnnw ar y seiliau cadarnaf.

## II.

## BETH YW DUW?

1. *Duw mewn crefydd.*—Gan mai yr amcan a osodwyd ger bron yn y bennod o'r blaen oedd ceisio syniad am Dduw cyson a phrofiad dyn o'r cyfanfyd, nid anaturiol fyddai tybied mai ar ddiwedd yr ymdriniaeth yr ymddangosai'r syniad hwnnw, ac mai cymeryd yn ganiataol yr hyn sydd i'w brofi yw egluro'r syniad ar y dechreu, ond mewn gwirionedd yr ydys yn dilyn cwrs naturiol ymresymiad ac hanes wrth roddi'r syniad i lawr yn gyntaf; oblegid, fel y dywedwyd eisoes, nis gellir casglu'r syniad o Dduw trwy ymresymiad am y cread, sydd o angenrheidrwydd yn llai na Duw; ac fel mater o ffaith cafodd y byd ei holl syniadau am Dduw, nid gan athroniaeth, ond gan grefydd. Ni cheir un cynnyg i brofi bodolaeth Duw nac i ymresymu ei natur yn yr Hen Destament na'r Newydd ychwaith; pethau cymharol ddiweddar, ganrifoedd yn ddiweddarach na'r llyfr ieuengaf yn y Beibl, yw'r prawfion ffurfiol o fodolaeth Duw. Ni ddaeth i feddwl neb o'r ysgrifenwyr ysgrythyrol i ameu na phrofi bodolaeth Duw, ond dadlennir y syniad am dano yn raddol yng nghwrs datblygiad profiad crefyddol, ac addoliad y genedl

Hebreig, ac felly y cafodd yr hil ddynol ei syniad am Dduw anfeidrol a phersonol, y syniad Theistaidd neu Gristionogol. Gwaith duwinyddiaeth ac athroniaeth fu dwyn allan a mynegi yr elfennau oedd yn oblygedig yn y syniad am berthynas Duw â dyn ac â'r cread. Cyffelyb yw hanes y syniadau ereill a geir am Dduw. Yng nghrefyddau India y rhoddwyd i'r byd gyntaf y syniad Olldduwaidd neu Bantheistaidd; ceir Deistiaeth gyntaf yng nghrefyddau China, ac wedi hynny yng nghyfnod diweddaraf y grefydd Iddewig; yng nghrefydd Zoroaster yr ymddangosodd deuoliaeth gyntaf, ac o honi hi o bosibl y daeth i Gristionogaeth y Prif a'r Canol Oesoedd. Y mae amldduwiaeth wedi ffynnu er cyn cof hanes mewn llawer o'r crefyddau cenhedlig. Felly mewn profiad ac ymarferiad, mewn crefyddau, y ceir yn gyntaf bob math o syniad am Dduw, a gwaith athroniaeth yw eu hegluro, eu cyfundrefnu, eu hesbonio, mewn perthynas â'u cyfanfyd, a'u profi neu eu gwrthbrofi ar seiliau ffeithiau profiad dyn.

2. *Datblygiad y syniad.* (*a*) *Aml-dduwiaeth.*—Y ffurf fwyaf cyffredinol, ac feallai yr hynaf, ar grefydd y byd, yw Amldduwiaeth. Tybiai dynion fod y bydysawd yn llawn o fodau, o ysbrydion, cyffelyb iddynt eu hunain, a chanddynt feddwl ac ewyllys, nwydau a theimladau fel hwythau, ond eu bod yn meddu gallu a gwybodaeth uwchlaw dynion; ac ar

gyfrif hynny, a'r dirgelwch a berthynai iddynt, yr oeddynt i'w hofni, os nad i'w parchu, ac i'w hosgoi, os nad ellid ufuddhau iddynt. Dyna feallai ymgais gyntaf dyn i esbonio'r gallu a'r symud a'r bywyd a ganfyddai yn y byd o'i amgylch. Pan ddechreuodd dynion edrych yn fanylach ar bethau, daethant i'r casgliad fod mwy o unoliaeth nag a dybiasid yn y bydysawd, fod rhyw ddeddfau ac egwyddorion cyffredinol yn llywodraethu symudiadau'r cread, ac yn cysylltu ei elfennau yn ddosbarthiadau mawrion; ond y ffordd y daethant i'r casgliad hwn eto oedd trwy'r dybiaeth fod duwiau mawrion yn teyrnasu dros rannau arbennig o'r ddaear, neu dros dymhorau neu agweddau neilltuol ar fywyd, ac araf iawn y buont yn symud ymlaen at unoliaeth pob peth yn y cyfanfyd. Pan wnaeth athroniaeth ei hymddangosiad gyntaf, ei hymgais oedd cael o hyd i ryw un egwyddor gyffredinol a esboniai'r cyfanfyd oll, ac oddiar hynny hyd yn awr, y mae meddwl athronyddol y byd bron yn unfryd unfarn mai unoliaeth yw'r cread, fod un egwyddor lywodraethol yn rhedeg trwy yr oll, ac un achos digonol yn gorwedd y tu ol i'r cyfan, ac os mai Duw y dylid galw yr egwyddor a'r achos hwnnw, mai un Duw sydd. Mae'n wir fod ysgol o athronwyr a ddywedant nas gellir gwybod dim am achos nac egwyddor wreiddiol y cyfanfyd, ac nas gall dyn wneyd rhagor nag aros gydag amrywiaeth y byd fel y mae, ond gwadu posibilrwydd athroniaeth yw

hynny, ac nid cynnyg athroniaeth ar seiliau'r amrywiaeth. Nid oes reswm dros ameu y casgliad y mae meddwl diwylliedig y byd wedi gorffwys ynddo am dros ugain canrif, fod y cyfanfyd yn un, mai un egwyddor ac achos llywodraethol sydd iddo, ac os mai Duw yw enw priodol yr achos hwnnw, mai un Duw sydd. Ond ni ddaeth crefydd i'r penderfyniad hwn mor gyflym nac mor bendant ag athroniaeth.

3. (*b*) *Undduwiaeth. Athrawiaeth proffwydi Israel.*—Y cam cyntaf o amldduwiaeth gyffredinol i gyfeiriad Undduwiaeth oedd y syniad fod gwahanol dduwiau yn trigiannu ac yn teyrnasu dros wahanol ddarnau o'r bydysawd. Feallai mai un Duw fyddai person neu genedl yn gydnabod ac yn addoli fel eu Duw arbennig hwy, ond addefent, neu cymerent yn ganiataol fodolaeth duwiau ereill i bobl ereill. Dyna'r ystâd yn natblygiad y syniad a adlewyrchir yn narnau hynaf yr Hen Destament. Yr oedd gan Israel ei Duw Jehofah, gan y Philistiaid ei Dagon, gan Syria ei Baal, a chan Moab ei Chemosh. Meddylid am danynt fel ymherawdwyr dwyreiniol, bob un yn ben yn ei wlad ei hun, yn hawlio addoliad ei thrigolion, ac yn rhwym o wylio dros ei buddiannau. Ffynnai'r syniad hwn yn Israel hyd yr wythfed ganrif cyn Crist ; mewn credo yr oeddynt yn amldduwiaid, ond mewn ymarferiad gofynnai eu crefydd iddynt fod yn Undduwiaid ; cydnabyddent, neu o leiaf ni wadent fodolaeth y

duwiau ereill, a'u hawliau dros genhedloedd ereill, ond Jehofah oedd Duw Israel, ac iddo Ef yn unig yr oeddynt yn ddyledus i ufuddhau. Ar hyd y llinell hon y datblygodd Amldduwiaeth i Undduwiaeth; y gwahaniaeth rhwng Israel a chenhedloedd ereill oedd fod y rhai hyn yn foddlon derbyn llawer o dduwiau ochr yn ochr, a'u haddoli, ond na oddefai proffwydi Israel iddi hi i addoli neb ond Jehofah. Duw eiddigus oedd Efe, ac ni rannai ei ogoniant â neb arall; gofynnai addoliad ac ufudd-dod calon unplyg ei bobl, ac yn yr unbennaeth hon yr oedd yn barod hedyn Undduwiaeth. Datblygodd i'w lawn ystyr yn nwylaw proffwydi'r wythfed ganrif ac wedi hynny, ar hyd llinellau awdurdod foesol Jehofah dros ei bobl. Dadl fawr y proffwydi yn erbyn eu cydoeswyr oedd fod Jehofah yn santaidd, fod ei gymeriad a'i awdurdod foesol yn sefyll uwchlaw ac ar wahan i'r genedl, ac nad oedd Efe yn rhwym i'r genedl a'i buddiannau, os na chadwai hi ei gyfamod Ef gan gyflawni ei ddeddfau. Pan ddechreuwyd felly fynegi awdurdod ac unbennaeth Duw yn nhermau moesoldeb ac ar faes cydwybod, yr oedd ei Unbennaeth a'i Unigdduwiaeth gyffredinol wedi eu cyhoeddi i bob amcan ymarferol; y mae gan y Duw sydd a hawl i fod yn Arglwydd un gydwybod hawl hefyd i fod yn Arglwydd yr holl fyd. Daw'r argyhoeddiad hwn i'r golwg yn raddol yn y proffwydi. Dechreua Esaiah alw duwiau'r cenhedloedd yn ddiwerth,

a chyhoedda Esaiah'r gaethglud nad oedd Dduw arall ond Jehofah, a'i fod Ef yn grewr cyrrau'r ddaear, a llywodraethwr yr holl fyd.

4. (c) *Duw Iddewaeth.*—Dirywio yn hytrach na datblygu a wnaeth duwinyddiaeth Iddewig rhwng cyfnod y proffwydi ac amser Iesu Grist. Daliasant y syniad mai un Duw sydd, ac Efe yn Fôd goruchel a santaidd, ond gwnaethant ef yn dlotach mewn dwy ffordd; tybiasant ei fod yn cyfyngu ei sylw a'i ffafr i'r Iddew bron yn hollol; ac hyd y nod i'r Iddew, yr oedd Efe yn rhy bell a santaidd i drigo ar y ddaear, ac i ymwneyd â dynion. Llefarasai gynt wrth Moses a'r proffwydi, ond cynrychiolid Ef mwyach ar y ddaear gan ysgrythyrau'r gyfraith a'r proffwydi, gan Rabbiniaid ac offeiriaid, ac ar adegau gan angylion neu genhadon ysbrydol gyfryngent rhwng Duw pell a dynion ar y ddaear. Dyma'r dduwinyddiaeth etifeddodd Mahomet oddiwrth Iddewaeth, ac a wnaeth yn sylfaen i'w grefydd newydd. Ymddangosodd syniad cyffelyb droion mewn athrawiaeth Gristionogol, yn arbennig yn nysgeidiaeth Gnosticiaid yr ail ganrif, yng nghyfundrefn Babyddol y canoloesoedd, a thrachefn yn y gwledydd Protestanaidd yn y ddeunawfed ganrif, pryd y daeth y term Deistiaeth i arferiad i'w ddynodi. Egwyddor sylfaenol yr athrawiaeth hon yw fod Duw yn rhy lân a goruchel i fod mewn perthynas agos a pharhaus â dynion a'u

hamgylchoedd, ac am hynny yn rhy bell uwchlaw'r byd i fod mewn cymundeb parhaus â dynion; ond mewn gwirionedd gwada'r fath dyb anfeidroldeb, a chyfynga ar allu a santeiddrwydd Duw; oblegid diffyg mewn santeiddrwydd a pherffeithrwydd yw nas gallant gadw eu cymeriad mewn byd amherffaith, a llanw â'u hanfod eu hunain bob lle a bodolaeth. Methodd y gyfundrefn hon yn ei phrif amcan o ddiogelu unoliaeth ac unigoliaeth Duw, oblegid wrth ei gyfyngu Ef y tu allan i'r cread, gwnai le i dduwiau neu hanner-duwiau ereill yn y cread, megis angylion Iddewaeth, aiônau y Gnosticiaid, a seintiau Pabyddiaeth; dim ond Duw sydd yn llond pob lle, yn angenrhaid pob bodolaeth, yn enaid pob bywyd, ac yn egwyddor pob gwirionedd, all symio ynddo'i Hunan bob dwyfoldeb, a gwneyd duwiau ereill yn amhosibl, am nad oes le iddynt nac angen am danynt.

5. (*d*) *Duw yng Nghrist.*—Ymgysylltа duwinyddiaeth Iesu Grist yn uniongyrchol a syniad y proffwydi; cadwodd afael ar y santeiddrwydd a'r gorucheledd a bwysleisiai Iddewaeth, ond dysgodd hefyd fod Duw yn aros yn y byd, ac yn trigo gyda dynion yn y berthynas anwylaf. Gwisga'r lili bob gwanwyn, a phortha aderyn y tô bob boreu. Y mae gwallt pen y distadlaf wedi eu cyfrif ganddo, a gweddiau'r gwaelaf bob amser ger ei fron. Crynhodd yr Iesu ei syniad a'i ddatguddiad o Dduw i'r enw Tad a roddodd iddo; wrth hyn

golygai nid yn unig fod Duw yn grewr a chynhaliwr pawb a phob peth,—dysgai yr Hen Destament hynny,—ond ei fod yn byw mewn perthynas o agosrwydd a gofal a chariad tuag at bob dyn, cyffelyb i eiddo tad at ei blant. Yr oedd unoliaeth ac unigoliaeth Duw wedi eu penderfynu ymlaenllaw i Iesu Grist, ac felly hefyd yr oedd ei arucheledd a'i ysbrydolrwydd, mewn ystyr. Priodolai yr Iddew i Dduw bob perffeithrwydd y gwyddai am dano, ond yr oedd ei syniadau am berffeithrwydd ac ysbrydolrwydd yn aml ar gam, ac am hynny ei syniad am Dduw yn anigonol. Gwaith mawr Iesu Grist yn y mater hwn oedd rhoddi syniadau cywirach am natur a pherthynas Duw o fewn amlinelliad y syniad a etifeddodd. Wrth ei ddangos yn Dad i bawb, gosododd ei unigoliaeth ar seiliau moesol disyflyd, oblegid nis gall fod cystadleuydd a Thad pawb oll; ac wrth ei ddwyn i agosrwydd cariad at ddynion, gwnaeth ei santeiddrwydd a'i ysbrydolrwydd yn ffeithiau cyflawn, mewnol a phrofiadol i ddynion. Ni chynhygiodd yr Iesu athronyddu y syniad am Dduw; ni cheisiodd brofi ei fodolaeth, nac ymresymu unrhyw agwedd ar ei natur; dysga mai ysbryd yw Duw, a sonia unwaith am ei berffeithrwydd, ond ni chynhygiodd ddeffinio y naill derm na'r llall; ni soniodd am anfeidroldeb na hollalluowgrwydd nac un arall o briodoleddau naturiol Duw; dangos, hysbysu, a byw Duw a wnaeth Efe, fel Tad, fel brenin teyrnas nefoedd, fel cariad personol a chyflawnder pob daioni moesol, a'r

oll yn brofiad byw i'r sawl a gredent yn yr Iesu ei hunan. Ar sail ei brofiad a'i ddatguddiad Ef o'r Tad y ffurfiwyd y syniad Cristionogol a Theistaidd am Dduw, gan yr apostolion a duwinyddion yr Eglwys.

6. (e) *Yr Athrawiaeth Gristionogol.*—Gwaith rheswm mewn athroniaeth a duwinyddiaeth oedd amgyffred a mynegi mewn syniadau clir a chyfundrefn gyson, y profiad o Dduw a feddai'r Iesu, ac a roddodd Efe i'w ddisgyblion. Yng ngwlad Groeg, buasai athroniaeth am bum can mlynedd cyn Crist yn ceisio deongli'r syniad o Dduw ar seiliau profiad crefyddol y byd paganaidd. Benthyca meddylddrychau athroniaeth Groeg a wnaeth y meddylwyr Cristionogol cyntaf, a'u cymhwyso i esbonio a mynegi'r profiad o Dduw oedd ganddynt yn eu ffydd yng Nghrist; felly y ffurfiwyd athrawiaethau'r Drindod a'r Ymgnawdoliad, a fynegant yr athrawiaeth am Dduw a geir yn y credoau ac yn syniadau traddodiadol yr eglwys. Digon anghymwys ar lawer ystyr oedd y syniadau Groegaidd i fynegi datguddiad Crist o Dduw; yn arbennig yr oeddynt yn ddansoddol, yn syniadau gwâg, pell, marwaidd, ac aneffeithiol, ac yn cuddio yn hytrach nag egluro bywyd a gweithrediad personol Duw, ei natur foesol, a'i gariad tadol. Bellach y mae'r profiad Cristionogol wedi bod am bedair canrif ar bymtheg yn lefeinio a gwrteithio meddwl dynoliaeth i allu cynhyrchu ffurfiau mwy

cymhwys i'w fynegi ei hunan. Ond yr oedd athronwyr Groeg wedi meddwl yn rhy dda i'w llafur oll i fynd yn ofer, ac erys eu dylanwad yn ddwfn ar feddwl y byd hyd heddyw; defnyddir llawer o'u termau ac o briod-ddulliau eu meddwl o hyd mewn athroniaeth grefyddol; eu termau hwy yw bôd, hanfod, natur, person, priodoledd, achos, effaith, nôd neu achos terfynol, a llawer term arall a arferir yn gyffredin; diau fod ystyr y termau hyn wedi newid llawer o'r hyn oedd iddynt hwy, ac hyd y nod i athronwyr Cristionogol y prif oesoedd, pan ffurfiwyd gyntaf athrawiaeth y Duwdod a phrawfion ei fodolaeth. Nid Duw sydd wedi newid, nac yn gymaint brofiad dyn o hono, ond yn hytrach y profiad sydd wedi argraffu ei hun fwyfwy ar ffurfiau meddwl y byd hyd nes gwneyd athroniaeth grefyddol yn fwyfwy cymhwys i fynegi cynnwys y profiad Cristionogol o Dduw.

7. *Pwyntiau y syniad Cristionogol.*—Daw cwrs y datblygiad yn amlycach wrth daflu trem ar brif bennau'r athrawiaeth Gristionogol am Dduw, fel y delir ef yn gyffredin heddyw.

(i.) Un Duw sydd. Er fod athronwyr Groeg wedi cyrraedd y syniad hwn, llac oedd eu gafael arno; a bu dylanwad yr amldduwiaeth baganaidd ar dduwinyddiaeth Gristionogol yn hir yn ei rhwystro i feddu'r gwirionedd hwn yn llawn a phendant. Ystyr y frwydr Ariaidd oedd fod yr ysbryd paganaidd yn

ceisio lloches i is-dduwiau neu hanner-duwiau o fewn y syniad Cristionogol, ac y mae lle i ameu a yw Ariaeth eto wedi llwyr farw; ond os yw yn llechu mewn syniadau poblogaidd, y mae bellach unoliaeth y Duwdod y tu hwnt i bob amheuaeth ym mhob cyfundrefn fyw o dduwinyddiaeth Gristionogol.

(ii.) Ysbryd yw Duw, neu, yr hyn sydd gyfystyr, y mae Efe yn Fôd personol. Nid oes o bosibl un syniad yn holl gylch athroniaeth wedi datblygu cymaint a'r syniad am bersonoliaeth. Golygai'r Groegiaid wrtho yn unig ryw hanfod gwâg, marw, yn gorwedd y tu ol i ymddangosiadau bywyd, ond heddyw golyga fywyd ac ymwybyddiaeth ac hunanymwybyddiaeth; a golyga hynny feddwl a theimlad ac ewyllys rydd; profiad byw, mewnol, sydd yn adnabod ei hunan, ac yn gallu penderfynu ei gynnwys a'i ymddygiad ei hunan; a dyna hefyd a olygir wrth ysbryd. Yr oedd hyn oll yn oblygedig yn natguddiad Crist o Dduw, ond ni fedrai athroniaeth y Groegiaid na'r dduwinyddiaeth a ddibynai arni mo'i fynegi.

(iii.) Y mae Duw yn anfeidrol. Syniad gwâg negyddol am ryw hanfod di-derfynau a digynnwys oedd eiddo'r Groegiaid am anfeidroldeb, ond golygir heddyw fod Duw ar gyfrif ei anfeidroldeb yn gyflawn o bob perffeithrwydd naturiol a moesol; nid yw amser na lle nac unrhyw derfynau ereill y tu allan iddo ei Hunan yn ei gyfyngu. Nis gall dyn amgylchu

nac amgyffred ei anfeidroldeb, am fod arliw lle, amser, a therfyn ar ei holl syniadau ef; ond hyd y gall dyn afaelu ynddo, golyga fod Duw yn holl gyflawnder ei berson byw, daionus, yn llanw pob lle ac adeg, pob drychfeddwl a delfryd a fedr unrhyw feddwl gyrraedd atynt; un felly yn ymarferol i brofiadau'r credinwyr oedd ac ydyw Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, un na fedr dyn gyniwair i unlle na fydd Duw yno ar ei gyfer.

(iv.) Y mae'r Duw anfeidrol yn hollbresennol, hollwybodol, ac hollalluog. Geiriau yw y rhai hyn eto y mae'r meddwl dynol yn daflu allan i geisio mynegi yng ngwahanol ffurfiau ei brofiad ei hunan agweddau cyflawnder bywyd yr Anfeidrol. Gwir yw mai nid hawdd yw synied am Dduw yn bresennol ym mhob man a chaniatau bodolaeth gwrthrychau ereill ar wahan i Dduw, na synied am ei hollwybodaeth heb wneyd rhyddid ewyllys dyn yn ffugiol, na synied am ei hollalluowgrwydd a chydnabod fod drwg a phechod, croes i'w ewyllys, yn bodoli mewn gwirionedd. Pa un bynnag a all meddwl dyn fyth amgyffred yn glir y priodoleddau hyn ai peidio, golygant i'r profiad crefyddol y ffaith ymarferol nad oes derfynau lle, amser na gallu, i atal Duw i fyw a gweithredu yn rhydd i gario allan ei fwriadau, a dwyn ei amcanion i ben.

(v.) Duw gan hynny yw achos, cynhalydd, llywiawdwr, a llywodraethwr y cyfanfyd, a phob peth a all fod.

(vi.) At ei berffeithderau naturiol ychwanegir perffeithrwydd moesol; y mae Duw yn santaidd, cyfiawn, doeth a da. Priodolir i Dduw bob amser y delfryd moesol uwchaf a fedd dyn, nid fel delfryd yn unig yn Nuw, ond fel hanfod ei Berson a'i weithrediad. Yn y pwynt hwn gwelir datblygiad amlwg iawn yn syniadau dynion am Dduw, yn cyfateb i ddatblygiad eu syniadau moesol eu hunain. Ym mhrofiad Iesu Grist o Dduw yr oedd y perffeithrwydd moesol uwchaf wedi ei sylweddoli, ond araf iawn y daw dynion i feddu a mynegi'r profiad hwnnw, a chyda'r un arafwch ac anhawsder y ffurfiant syniadau teilwng am berffeithderau moesol Duw.

Nid gwaith meddwl yn unig, ond gwaith profiad hefyd, yw adnabod a datguddio a phrofi natur a bodolaeth Duw. Ond dyma brif linellau'r syniad sydd gennym i'w brofi,—i ddangos ei berthynas a gwirionedd ac hanfod pob peth,—sef, Duw sydd un ac unigol, nas gellir dychmygu ei gydmar, sydd yn ysbryd a pherson byw, ac yn meddu yn hollol bob cyflawnder a pherffeithrwydd naturiol a moesol, mewn bôd a pherthynas, mewn bywyd a gweithrediad, y gall meddwl dyn byth eu dirnad, a thelerau ei hunanfodaeth Ef eu cartrefu.

## III.

## GWRTHDDADLEUON ANUWIAETH.

1. *Prif fathau gwrthdduwiaeth.*—Yn yr amlinelliad byrr a roddwyd o'r syniad o Dduw, daeth yn amlwg mai nid syniad hawdd ei amgyffred na'i fynegi ydyw ; a phan geisir ei ddwyn i berthynas â'r byd ac â dyn, â gwybodaeth ac â bodolaeth, ceir gweld fod iddo fwy o anhawsderau. Cymaint ydynt fel y mae llawer o feddylwyr wrth fyfyrio arnynt wedi dod i'r penderfyniad nas gallant dderbyn y syniad. Mynn rhai ei fod yn syniad hollol afresymol, a gwadant ef yn bendant ; hynny yw Anuwiaeth neu Atheistiaeth. Deil ereill fod ganddynt hwy esboniad gwell o'r cread ac o holl gynnwys profiad dyn, un na chynnwys ac na chaniata'r dybiaeth fod Duw, ac wrth ddewis y fath esboniad gwadant mewn canlyniad fodolaeth Duw ; rhai felly yw'r Materolwyr a rhai o'r Naturiolwyr. Ereill drachefn a deimlant fod ystyr hanfod eithaf pethau mor ddirgel ac anhawdd ei gael, fel nas gellir dod i un penderfyniad diamwys ar y pwnc ; caria rhai eu amheuaeth mor belled fel na fynnant ddweyd a oes Duw ai peidio, nac ychwaith a oes na gwirionedd na daioni nac unrhyw ffaith na sylwedd terfynol a sylfaenol ; gellir

galw y rhai hyn yn Amheuwyr neu Sceptiaid. Ereill a gredant fod y bydysawd yn tystio i fodolaeth rhyw fath o Fôd dwyfol, ond nad yw meddwl dyn yn alluog i ffurfio syniad am dano, na gwybod dim yn ei gylch; gelwir y rhai hyn yn Agnostiaid neu Anwybyddwyr. I'r dosbarth hwn y perthyn hefyd y rhan fwyaf o Naturiolwyr, oblegid cymerant esboniadau gwyddoniaeth naturiol ar y bydysawd, fel y gair olaf ar y pwnc, gan adael heb gynnyg eu penderfynu y cwestiynau o berthynas i'r hanfod y tu ol i'r ymddangosiadau yr ymdrinia gwyddoniaeth â hwynt.

2. *Deistiaeth ac Oll-dduwiaeth.*—Ceir eto un dosbarth arall o anhawsderau ynglŷn a ffurf arbenigol y syniad am Dduw; er cydnabod bodolaeth Duw, ac y gellir gwybod llawer am dano, ceir amryw farnau pa fath un ydyw. Gwelwyd fod crefydd wedi rhoddi i'r byd nifer o syniadau heblaw yr un Cristionogol, ac y mae athroniaeth wedi ceisio amddiffyn rhai ohonynt. Cyfeiriwyd yn lled helaeth yn barod at y syniad Deistaidd sydd yn tybied am Dduw mai bôd pell tansoddol ydyw, yn byw y tu allan i'r byd, ac na fedr mwyach ymyraeth â'r cread ar ol ei greu. Dangoswyd yn barod fod y syniad hwn yn anghyson âg unigoliaeth, âg anfeidrol-deb, ac â bywyd personol Duw, ac felly âg elfennau hanfodol y syniad Cristionogol. Ni ddelir ac ni amddiffynir y syniad Deistaidd bellach gan athronwyr na duwinyddion o un

awdurdod; nid oes gan hynny alw am ymdrafodaeth bellach arno yn y fan hon. Syniad arall mwy ei ddylanwad presennol yw yr un gwrthgyferbyniol, lle y gwneir Duw a'r byd yn un, naill ai trwy suddo Duw yn y byd, neu trwy wneyd y byd yn ymddangosiad a chysgod yn unig o Dduw; yn y naill ffordd neu'r llall, cyfyngir Duw o fewn y cread ac o dan ddeddfau angenrhaid, a cheuir allan yn ymarferol ei fywyd personol a'i natur foesol. Da fydd yn awr i geisio gweld pa seiliau sydd i'r gwahanol dybiau gwrthddwyfyddol hyn.

### I.—ATHEISTIAETH.

3. *Y dyb nad oes Duw.*—Atheistiaeth y gelwir y safbwynt feddyliol a wâd yn bendant fodolaeth a phob posibilrwydd bodolaeth Duw. Y mae'r term wedi ei ddefnyddio mewn dull llac i ddynodi ffurfiau ereill ar anghrediniaeth gan ddadleuwyr diofal; arfer rhy gyffredin llawer a fu ac ydyw galw pawb yn Atheistiaid a feiddiant wahaniaethu mewn barn ar bethau crefydd oddiwrthynt hwy a'r lliaws; felly y gelwid y Cristionogion cyntaf gan eu cydoeswyr am na dderbynient dduwiau Groeg a Rhufain; mewn modd cyffelyb y galwyd Deistiaid, Olldduwiaid, ac Undodiaid yn Atheistiaid gan eu gwrthwynebwyr, ond anwybodaeth a gwendid yw camenwi pobl felly. Teg yw cyfyngu y term hwn yn unig i bobl a broffesant yn bendant nad oes Dduw. Cymharol ychydig yw nifer y rhai hynny;

ni pherthyn iddynt neb o athronwyr mawr yr oesau, ac ni cheir heddyw ymhlith dysgawdwyr ac arweinwyr athronyddol yr un a broffesai Atheistiaeth. Hyd y nod lle y ceir meddylwyr o bwys yn gwadu bodolaeth Duw, gwnant hynny ar gyfrif mabwysiadu cyfundrefn feddyliol i esbonio'r byd fyddai'n cau Duw allan, ac felly deuant yn fwy priodol o dan ystyriaeth wrth drin y damcaniaethau hynny, megis Materoliaeth. Eto, fe geir un yma a thraw yn gwadu'r syniad o Dduw ar ei gyfrif ei hunan, neu yn gosod mwy o bwys ar wadu fod Duw, nag ar unrhyw dybiaeth wrth-dduwiaethol am y byd; teg yw galw y rhai hynny yn Atheistiaid, a boddlon ydynt i arddel yr enw. Ffordd gyffredin a chyfreithlon i ateb haeriad yr Atheist yw, fod yn rhaid i'r dyn a'i gwna fod yn hollwybodol cyn y gall ei brofi, oblegid er iddo wybod bron pob peth am y cyfanfyd, gall yr un peth na ŵyr efe am dano fod yn brawf o bresenoldeb Duw ynddo oll. Bu dynion am oesau lawer yn tybied fod y ddaear yn gorffwys yn llonnydd ynghanol y gyfundrefn heulawl, a charcharwyd Galileo am awgrymu'r gwrthwyneb; ond erbyn heddyw, nid oes un ffaith yn amlycach na bod y ddaear yn symud, ac nid ffaith yn cuddio mewn congl anghysbell ydyw, ond un sydd yn bresennol yn holl natur adnabyddus. Yn yr un modd gall yr Anuw fethu canfod Duw, ac yntau er hynny yn llond pob lle, a phob peth. Dyma'r rheswm yn ddiau na cheir yn aml neb i wadu'n bendant

fodolaeth Duw, a chymer anghrediniaeth yn hytrach y ffurf o Anwybyddiaeth, sef na ŵyr neb, ac nas gall neb wybod a oes Duw. Gellir feallai ddychmygu un ffordd, a'r unig ffordd, y byddai yn bosibl profi nad oes Duw, sef pe gellid dangos fod un darn o'r cread yn hollol amddifad o un arwydd o'i fodolaeth; oblegid os oes Duw, y mae ym mhob peth, ac ym mhob man ryw arwyddion o'i fodolaeth; wrth reswm, rhaid fyddai i'r wrthddadl hon i ddangos fod pob peth yn wybyddus am y darn di-dduw, ac feallai wedi'r cwbl fod hynny yn gofyn hollwybodaeth. Fodd bynnag, yn y modd hwn, trwy geisio dangos y gellir esbonio'r byd heb gymeryd Duw i'r cyfrif, y codir yr wrthddadl gryfaf yn erbyn ei fodolaeth Ef.

### II.—MATEROLIAETH.

4. *Damcaniaeth Democritus.* — Proffesa'r materolwr esbonio'r cyfanfyd allan o fater, a gallu materol yn unig. Gosodwyd i lawr hanfodion y gyfundrefn hon gan yr hen athronydd Groegaidd Democritus. Tybiai fod yn bodoli yn y dechreuad fyrddiynau aneirif o ronynau neu ddarnau mân o fater ar draws yr holl wagle, a'r rhai hynny yn symud trwyddo gyda nerth a chyflymder mawr, ac wrth symud, yn taro yn erbyn eu gilydd nes ffurfio'n belennau troellawl, un yn taro'r llall nes ei bod hi'n troi, ac o gyd-darawiad damweiniol o'r fath y daeth y byd a'r bydoedd a'u holl gynnwys i fodolaeth.

Dyna anhebgorion pob cyfundrefn faterol,—mater, gallu neu fudiad, a damwain, a'r ddamwain rywfodd yn troi yn angenrhaid a deddf ar ol i'r bydysawd ddechreu bodoli; ychydig gyfnewidiadau hanfodol sydd wedi eu gwneyd yng nghyfundrefnau materol oesau diweddarach, dim ond mor bell ag yr oedd galw am gwrdd a beirniadaeth a gwrthwynebiadau athroniaeth ddelfrydol neu ysbrydol. Yr wrthddadl gyntaf a godir gan rai yw, fod Materoliaeth yn cymeryd yn ganiataol y gronynau, a mudiad, sef y defnyddiau cyntaf, heb gyfrif am danynt; ond gall y Materolwr ateb fod y sawl gred yn Nuw yn cymeryd Duw yn ganiataol fel achos cyntaf pob peth, ac heb gyfrif am dano; a diau fod yn rhaid i bob athronydd gymeryd yn ganiataol ei achos cyntaf a'i egwyddor sylfaenol. Rhaid gofyn yn hytrach a yw yr achos cyntaf a dybir yn ddigonol i gyfrif am bob peth sydd yn dilyn. Mae yn sicr nad yw gronynau'r materolwr, na mater marw mewn unrhyw ffurf, er ychwanegu gallu marw ato, yn ddigon i gyfrif am y cyfanfyd fel y mae. Cydnebydd pawb "ddeddf achos digonol," sef fod yn rhaid i bob achos teilwng o'r enw gynnwys ynddo'i hunan yr holl elfennau i gyfrif am bob peth sydd yn yr effaith,—ni ddaw dim o ddim; "os cregyn gwâg fydd yn y sâch, cregyn gwâg ddaw allan!" Daw yn amlycach bob dydd fod trefn a deddf resymol yn nodweddu y byd materol fel y mae, ac nis gall mater, mudiad, a damwain gyfrif am y

rhai hyn; ac uwchlaw'r byd materol ceir y byd llysieuol, lle yr ymddengys bywyd gyntaf, ac uwchlaw hwnnw y byd anifeilaidd yn meddu rhyw fath o ymwybyddiaeth, ac yn uwchaf oll, o fewn cylch profiad diamheuol, ceir meddwl hunan-ymwybodol a phersonol, neu ysbryd dyn, ac nis gall mater marw gyfrif am yr un o'r rhai hyn; y meddwl dynol, yr hyn y mae dyn yn fwyaf sicr o hono, hefyd yw'r peth mwyaf anhebyg i fater, y mwyaf gwrthgyferbyniol iddo, a'r mwyaf amhosibl ei esbonio ganddo.

5. *Mater a Meddwl.*—Cododd ysgol o faterolwyr yn Ffraingc yn y ddeunawfed ganrif a geisient esbonio meddwl allan o fodolaeth, trwy ddweyd mai gallu neu weithrediad yr ymennydd yn unig ydoedd. Ond nid yw rhoddi enw ar beth nag yn ei esbonio nag yn ei ddifodi, yn arbennig pan y mae'r enw yn anghywir ac amhriodol; gweithrediad yr ysgyfaint yw anadlu, fel y gwel neb a all edrych arno yn gweithredu, ond nis gallai neb wrth edrych ar yr ymennydd yn gweithredu gasglu na thybio am hynny yn unig fod meddwl o gwbl yng nglŷn âg ef. Pe bai dyn byddar na wyddai ddim am berdoneg yn gwylio'r morthwylion yn disgyn ar y gwifrau tra fyddai rhywun yn chwareu "Ystorm Tiberias," ni chawsai efe un syniad am ddim rhagor na symudiadau'r morthwylion a chryniadau'r gwifrau a'r awyr, ac mewn gwirionedd, nid oes dim rhagor yn digwydd i'r

berdoneg; a gweithrediadau o'r un fath sydd yn digwydd yn yr awyr, ar baladr y glust, ac ar holl beirianwaith yr ymennydd; yn y meddwl yn unig y mae'r swn, y miwsig, a'r teimladau a gynhyrcha, ac y mae yn rhywbeth hollol wahanol yn ei natur i ddim a gymer le yn yr ymennydd; gallasai'r gwr byddar wybod pob peth, nid yn unig am symudiadau'r berdoneg, ond am ymennydd y sawl a'i chwareuai, neu a wrandawai, heb wybod dim am fodolaeth swn na cherdd.

6. *Datblygiad meddwl.*—Ni cheisia materolwyr diweddar gyfrif am feddwl allan o fater mewn ffordd mor uniongyrchol ac afresymol a'r uchod, ond galwant i'w gwasanaeth ddamcaniaeth datblygiad, a cheisiant ddangos fod meddwl yn codi allan o fater gwreiddiol trwy ddatblygiad graddol ar hyd y milflwyddi meithion. Dangosir fod meddwl yn bodoli o ffurfiau isaf y byd anifeilaidd i fyny, fod tebygolrwydd a chysylltiad agos rhwng meddwl pob gradd a'i gilydd, fod tyfiant meddwl dyn o'i blentyndod yn graddio yn debyg i'r raddfa sydd o'r anifeiliaid isaf i'r dyn uwchaf, ac felly gosodir gerbron y ddamcaniaeth mai wedi datblygu yn raddol y mae meddwl o ffurfiau isaf ymwybyddiaeth i fyny. Nid ydys eto wedi gallu pontio'r gagendor rhwng yr ystâd feddyliol a'r ystâd is-feddyliol, na rhwng teyrnas bywyd a theyrnas mater difywyd, ond gobeithir y dengys gwydd-

oniaeth ryw ddydd fod unoliaeth a chydoliaeth ddidor yn cysylltu holl raddau bodolaeth ar lwybr datblygiad o'r gronynau symlaf i'r meddyliau uwchaf. Nid oes eisieu ameu'r fath bosibilrwydd, na gwadu dim o'r unoliaeth a'r cysylltiad a'r datblygiad graddol a ddatguddia gwyddoniaeth yn y byd ac ym mywyd a meddwl dyn, oblegid nid yw hyn oll yn dangos yn y mesur lleiaf y gall mater gyfrif am feddwl a'i fyd.

7. *Gwahaniaeth rhwng modd ac achos.*—Damcaniaeth dull a modd, ac nid damcaniaeth gallu ac achos yw datblygiad; dangos y mae y ffurf a'r dull y daeth y byd i'w sefyllfa bresennol, sef trwy dyfiant graddol, cyson, rheolaidd, yn ol cynllun ac egwyddor achos ac effaith, ond nis gall ddarganfod na chynhyrchu achos i unrhyw ddigwyddiad, ond yn unig ddangos y cysylltiadau achosol lle y maent; gall feallai ddangos fod bywyd ac ymwybyddiaeth wedi codi yn raddol i'w sefyllfa bresennol, o ystadau is a mwy elfennol, ond nis gall gyfrif paham y bu hynny, oblegid y mae'r datblygiad ei hunan yn gofyn am esboniad ac achos digonol. Y mae ymresymiad y materolwyr yn debyg i eiddo masnachwr a dybiai ladrata £100 yn drosedd erchyll, ond na phetrusai roddi hanner wns yn llai na'r pwysau i'r prynwr o bob peth a werthai bob dydd o'r flwyddyn. "Os cregyn gwâg fydd yn y sach, cregyn ddaw allan," pa un bynnag ai eu harllwys a wneir, neu ynte

eu pigo bob yn un; neu, os ar ol eu pigo yn ofalus y gwelir mai cregyn llawn ydynt, profi a wna hynny, nid eu bod wedi llanw wrth eu pigo, ond mai cregyn llawn oedd yn y sach. Ac os dengys gwyddoniaeth byth y gellir deilliaw meddwl a bywyd o'r gronynau gwreiddiol y tybia'r gwyddonydd y gwneir pob peth sydd ohonynt, profi a wna hynny, nid y daw meddwl o fater, ond fod meddwl wedi ei gyfuno â mater yn ei ffurf fwyaf gwreiddiol. Ac yn wir, nid oes raid aros i wyddoniaeth i ddatblygu meddwl o'r gronynau er gweld hyn; y mae yn amlwg yn awr nad oes, ac nas gall fod, dim a elwir yn fater heb feddwl. Y mae pob nodwedd a phriodoledd a fedd y byd allanol a materol fel yr edwyn dyn ef, yn rhywbeth a roddir iddo gan feddwl; nid oes dim mewn nef na daear nad yw meddwl wedi ei wneyd yr hyn ydyw. Daw cyfle yn nes ymlaen i holi yn fanylach i natur meddwl, a'i flaenoriaeth a'i uwchafiaeth yn y byd; digon yn awr yw dweyd nas gall y byd fod wedi deilliaw o "fater yn unig," oblegid na ŵyr neb ddim am fodolaeth y fath beth a "mater yn unig."

### III.—NATURIOLAETH.

8. *Gwyddoniaeth yn lle athroniaeth.*—Nid materoliaeth yw gwrthwynebydd pennaf athroniaeth ysbrydol yn bresennol; yn wir, ni cheir neb o bwys a haera y gellir esbonio pob peth trwy fater, nac hyd y nod y gwyddant

ddim o gwbl am fater. Y mae gwyddoniaeth a beirniadaeth wedi dysgu pobl i beidio haeru lle na wyddant, a braidd na ellid dweyd mai'r perygl bellach yw gormod gochelgarwch, yn atal dynion i alw yn wybodaeth ddim na allant ei weld â'u llygaid a'i deimlo â'u dwylaw, ei fesur â llinyn, a'i bwyso mewn clorian. Rhyw gyfundrefn o fewn terfynau felly a adnabyddir wrth yr enw Naturiolaeth. Ni chychwyna hi gydag un gosodiad o gwbl o berthynas i hanfod sylfaenol bodolaeth, ond yn hytrach gyda chasgliadau profedig gwyddoniaeth, a hynny yw ei chryfder a grym ei gwrthwynebiad i grefydd a holl elfennau ysbrydoliaeth. Daw ymlaen o dan faner gwyddoniaeth yr oes, a hona esbonio pethau cyn belled ag y gellir esbonio dim yn nhermau gwyddoniaeth, ac heb fynd gam y tu hwnt i ffeithiau profadwy i synhwyrau dyn, ac yn yr esboniad hwnnw nid oes angen am Dduw nac ysbryd na byd arall, na lle i foesoldeb na chrefydd ; ni ddywed yn bendant nas gall y pethau hyn fod, ond dengys nad oes gan wyddoniaeth naturiol un lle iddynt, ac felly y gellir esbonio'r byd a byw hebddynt. Dyma nodwedd a sylfaen fwyaf cyffredinol anffyddiaeth heddyw,—y syniad fod gwyddoniaeth naturiol yn esbonio'r cread oll, heb eisieu cymeryd Duw na chrefydd i'r cyfrif.

9. *Tair cainc Naturiolaeth* ydynt hefyd dair egwyddor lywodraethol gwyddoniaeth naturiol.

(*a*) Dechreua gyda'r esboniad peiriannol o'r byd a geir yn y gwyddorau sydd yn ymwneyd â natur farw, megis anianeg, fferylleg, a thrydaneg. Yn y gwyddorau hyn cymerir i ystyriaeth yn unig rai o agweddau allanol natur, ac fe ellir yn y pen draw eu dwyn i lawr i ddwy, sef Maint a Mudiad. Gellir mesur a chyfrif y rhai hyn, a'u dwyn o dan reolau terfynedig, megis fod eu cyfanswm yn para o hyd yr un yn ol "deddf Diogeliad parhaol Gallu;" fod pob presennol yn gynnyrch angenrheidiol ac anocheladwy y gorffennol, yn ol "deddf Achosiaeth;" ac mai yr hyn a fu a fydd byth yn ol rheolau disyfl y peiriant, neu "ddeddf Unffurfiaeth." Pan saethir bwled o fagnel, os gŵyr neb nerth y pylor a phwysau'r fwled, gall gyfrif i'r filfed ran o lygad gwybedyn lle y syrthia'r fwled; ac yn yr un modd pan ddaw'r gwyddonydd yn gyfarwydd â holl fesurau a mudiadau'r cyfanfyd, gall ddesgrifio holl hanes y gorffennol, a phroffwydo cwrs y dyfodol gyda'r un manylrwydd a sicrwydd ag y cyfrifir sawl torth chwech ddylid gael am hanner coron. Ond, mae'n amlwg nas gall fod lle i ryddid ewyllys, nac i un math o wreiddiolder gweithrediad dyn na Duw yn y gyfundrefn hon.

(*b*) Ar y sylfaeni peiriannol hyn dygir i fewn ddamcaniaeth datblygiad, i gyfrif am gwrs rhediad, codiad a thyfiant y cyfanfyd, a phob peth sydd ynddo, o'i ystâd o unrhywiaeth gyntefig i'w amrywiaeth bresennol.

(*c*) Ni phroffesa Naturiolaeth ddeilliaw meddwl allan o fater, fel y gwna Materoliaeth, oblegid nid oes dim a fynno hi â sylweddau hanfodol, ond yn unig â ffeithiau fel yr ymddangosant i synhwyrau dyn; cydnebydd gan hynny fod ffeithiau meddwl yn ddosbarth ar eu pennau eu hunain, ac yn wahanol i ffeithiau mater; ond yr unig gyfrif wneir ohonynt yn y gyfundrefn hon yw yr athrawiaeth fod symudiadau'r corff ac ystadau'r meddwl yn cydredeg ochr yn ochr, ac eto nad oes un berthynas achosol rhwng y naill a'r llall, neu fel ei gelwir, "athrawiaeth cyfochredd meddylegol." Ni chymer y meddwl ddim allan o gyfanrwydd y peiriant materol, ac ni ychwanega ddim ato; y mae'r gyfundrefn faterol a'r gyfundrefn feddyliol, bob un yn gyfan ynddi ei hunan, a'r naill yn anibynnol hollol ar y llall.

10. *Cylch priodol Gwyddoniaeth.*—Os ystyrrir yr egwyddorion uchod yn unig fel ffurfreolau gwyddoniaeth naturiol, nid oes dim a fynnom yn y fan hon â'u beirniadu. Y mae gan y gwyddonydd berffaith hawl i gymeryd agweddau cyfyngedig o'r cyfanfyd i'w hastudio ar wahan. Os mynn Euclid draethu ar linellau wedi eu deffinio fel "hyd heb led," y mae iddo ryddid i wneyd hynny, er nad oes mewn gwirionedd ddim o'r fath yn bodoli; ond nid yw yn rhydd iddo ddweyd mai llinell felly yw Pont Menai. Ac os mynn y gwyddonydd astudio Maint a Mudiad fel un agwedd ar

fodolaeth, a meddwl fel agwedd arall, ac os mynn efe, er hwylusdod, ddychmygu y naill fel pe ar wahan i'r llall am dro, y mae iddo ryddid i wneyd hynny; ond peth arall yw iddo ddweyd eu bod ar wahan mewn ffaith, neu honni ei fod wrth eu hesbonio ar wahan yn dweyd yr oll sydd i'w ddweyd am danynt. Hynny yn wir ni wna un gwyddonydd fel gwyddonydd. Pan gymer un y damcaniaethau gwyddonol hyn a'u rhoddi allan fel esboniad cyflawn neu yr esboniad goreu ar y cread oll, y mae yn troi oddiwrth wyddoniaeth at athroniaeth y Naturiolaethwyr. Nid oes gweryl rhwng Ysbrydoliaeth a Dwyfyddiaeth ar y naill law a gwyddoniaeth naturiol ar y llaw arall fel y cyfryw, sef fel eglurhad rhannol ar agweddau tansoddol o natur, neu fel esboniad mor belled ag yr a ar rannau o natur wedi eu cymeryd ar wahan am y tro; ond pan gynhygir y wyddoniaeth hon fel athroniaeth y cyfanfyd, y mae'n bryd gofyn a yw yn ddigonol i'r pwrpas.

11. *Terfynau Gwyddoniaeth a methiant Naturiolaeth.*—Fe gofir yn gyntaf na phroffesa'r wyddoniaeth beiriannol ymwneyd â ffeithiau hyd y nod y byd materol ynddynt eu hunain, ond yn unig a'r agweddau ohonynt ellir gyfleu mewn Maint a Mudiad; fe gofir hefyd yr hyn a ddywedwyd yn yr adran flaenorol am ddatblygiad, mai desgrifio modd codiad a thyfiant pethau a wna, heb gyfrif o gwbl am eu hachosion; ac nid oes gan Naturiolaeth fwy na

Materoliaeth un cyfrif i'w roddi o ymddangosiad bywyd a meddwl. Er y cydnebydd fodolaeth meddwl fel dosbarth o ffeithiau gwahanol i'r byd materol, ni chynhygia un esboniad arnynt; a gwaeth na hynny, cynhygia esboniad o'r cyfanfyd sydd yn gadael meddwl allan o'r cyfrif; ceisia ddwyn yr oll i dermau, drychfeddyliau a chategoriau natur fel peiriant marw. Ond y mae meddwl nid yn unig yn gylch o ffeithiau arbennig sydd yn hawlio lle yn athroniaeth y cyfanfyd; eithr rhagdybia'r holl gyfundrefn beiriannol a naturiaethol ei hunan feddwl, ei ryddid, ei weithrediadau bwriadol a'i allu creadigol, oblegid nid yw holl gyfundrefn y gwyddorau, eu damcaniaethau a'u categoriau, eu deddfau a'u tybiaethau, yn ddim amgen na chreadigaethau meddwl; ac y mae'r athroniaeth a esyd y pethau hyn o'i heiddo ymlaen fel esboniad y cyfanfyd heb wneyd un cyfrif o feddwl, yn debyg i ganwyll frwyn ganolddydd haf, a fynnai anwybyddu'r haul y deilliasai ei llewyrch gwan o hono. A chofier yn y fan hon mai trwy anwybyddu meddwl a'i ryddid a'i ddelfrydau wrth esbonio'r byd y ceir y gyfundrefn sydd yn cau Duw allan o hono. Cauer meddwl allan, ac ni bydd lle i holi am Dduw. Ond y mae gan Naturiolaeth eto un ple i'w ddadleu yn erbyn y gwrthddadleuon hyn oll; cydnebydd nad yw yn cyffwrdd â sylweddau bodolaeth, ac y gall fod mwy mewn meddwl nag a ymddengys, ac y gall hefyd fod mwy y tu ol i'r cyfanfyd nag a

ddatguddia gwyddoniaeth naturiol, ond am hyn oll, dadleua nas gellir gwybod dim. Yr oll sydd wybyddus i feddwl dyn yw yr hyn a eglurir gan y gwyddorau, a thu hwnt i hynny y mae pob peth yn anwybyddus, ac anwybyddadwy. Arweinir ni felly oddiwrth gwestiynau bodolaeth at gwestiynau gwybodaeth.

# IV.

## DADLEUON GWYBODAETH A SYNIAD.

---

### IV.—ANWYBYDDIAETH.

1. *Terfynau gwybodaeth.*—Rhed pob ymholiad o berthynas i fodolaeth, a'r pethau sydd, yn y diwedd i'r cwestiwn, beth a all dyn wybod am fodolaeth ac hanfod. Heb wadu'n bendant fod Duw, gofynnir beth a all dyn, gyda'i feddwl cyfyngedig a ffaeledig wybod am Dduw, a chyfyd llawer o ystyriaethau digon cyfarwydd i ategu amheuaeth o'r fath. Nis gellir canfod Duw â'r synhwyrau, naill na'i weld, na'i glywed, na'i gyffwrdd, oblegid os y bodola, y mae mawredd ac ysbrydolrwydd ei hanfod yn cau allan bob posibilrwydd profiad synhwyrol o hono. Gŵyr pawb sydd wedi treio, mor anhawdd yw ffurfio syniad clir am Dduw, a chynifer o gwestiynau dyrys ac o anghysonderau a godant o gylch y syniad, a'i berthynas â dyn ac â'r byd ; er engraifft, sut y gellir meddwl am Dduw yn Berson, yn canolbwyntio ei weithrediad ar amcanion arbennig, ac o fewn cylch neilltuol, ac yntau yn anfeidrol a di-derfynau ? Neu, sut y gall Duw wneyd pob peth yn y cyfan-

fyd, a dyn feddu rhyddid ewyllys, neu fod yn berson ar wahan i Dduw? Neu, sut y gall Duw da ac hollalluog fod wedi gwneyd byd drwg a phechod mor gyffredin ynddo? A chyfyd anhawsderau yn nes atom na'r rhai hyn; dywedir mai "nid aur yw pob peth melyn" am fod perygl i bobl gamgymeryd rhwng aur a defnyddiau melynion ereill, ac nid yw'r gwelediad yn unig yn alluog i wahaniaethu rhyngddynt. Clywa'r plant swn y môr mewn cragen wrth eu clust, ond gŵyr y mwy cyfarwydd nad oes a fynno'r môr â'r swn. Ac fe all pob un o'r synhwyrau, a'r oll ohonynt ynghyd, ddwyn camdystiolaeth. Heblaw hynny, hyd y nod pan y mae'r synhwyrau yn dwyn tystiolaeth unffurf a chyson, nid oes un prawf fod pethau fel yr ymddangosant i'r synhwyrau; nid yw lliw, meddir, ond rhyw effaith ar y llygad, na swn ond effaith ar y glust, nac ergyd morthwyl ar y llaw ond effaith ar y croen, ac nid oes un prawf fod dim gwrthrychol yn y byd yn cyfateb i'r lliw a'r swn a'r ergyd. Ac yn ben ar y cwbl, y synhwyrau diddal hyn yw yr unig gyfryngau gwybodaeth sydd gennym; pob drychfeddwl, pob syniad, pob gwybodaeth fodola o fewn cylch yr ymwybyddiaeth, dywed rhai nad ydynt ond darluniau neu gopiau o argraffiadau a wneir ar y meddwl trwy'r synhwyrau. Ond gan nad oes gennym wybodaeth synhwyrol am Dduw, pa fodd y gellir gwybod dim oll am dano? A chan nad yw'r synhwyrau yn ein dwyn ond at ymddangosiadau yn unig, dim ond at blisgyn bodolaeth, pa fodd

y gwyddis dim am hanfodion pethau? Dyma o bosibl y ffurf ar anffyddiaeth sydd wedi bod yn fwyaf cyffredin ar hyd yr oesau, ac sydd hefyd yn fwyaf anhawdd ei gwrthdroi a'i gorchfygu, oblegid teimla pob dyn fod elfen o resymoldeb, a rhywbeth sydd yn apelio at ryw ran o'i brofiad ei hunan yn y ddadl hon; ond y mae weithiau fwy ac weithiau lai o'r gwirionedd yn cael lle yn y ffurf y gosodir y cwestiynau hyn.

2. *Amheuaeth drylwyr rhai athronwyr Groegaidd.*—Yng nghyfnodau olaf athroniaeth Groeg, cododd dosbarth o amheuwyr eithafol, mewn gwrthwynebiad i systemau Plato ac Aristotle, a ddadleuent nad oedd unrhyw wybodaeth yn bosibl o gwbl; dalient fod dyn yn hollol ddibynnol ar ei synhwyrau am ei holl syniadau, ac fod y synhwyrau yn amrywio o berson i berson, a chyda'r un person ar adegau gwahanol, fel nas gallent gyfleu i ddyn wybodaeth o unrhyw wirionedd sefydlog, ac felly nad oedd un ystyr hanfodol i'r gwahaniaeth rhwng gwir a gau, neu dda a drwg. Perthynasol yw pob peth, a gall yr hyn sydd wir a da mewn un lle, neu ar un adeg, fod yn ddrwg ac anwir mewn lleoedd ac ar adegau ereill. Yr hyn a ymddengys i mi yr awrhon yn bodoli, neu yn wir neu yn dda, sydd felly i mi, ond nid yw yn dilyn fod yr un peth yn bod neu yn wir neu yn dda i neb arall, nac i minnau ar adeg arall. Os tybia neb y gŵyr rywbeth am Dduw, y

mae iddo groesaw i'w dyb, ond ddeil hi ddim yn wir i neb arall. Nis gellir ymresymu âg amheuaeth eithafol o'r fath hon, na dwyn yn ei herbyn unrhyw wrthbrawf effeithiol, oblegid pa dystiolaeth neu reswm bynnag a gynhygir, y mae'r amheuwr wedi penderfynu ymlaenllaw nad oes un gwerth ynddi, am nad oes fodd gwybod dim am unpeth, ac y gall pob peth fod yn groes i'r hyn yr ymddengys. Yr unig atebiad ellir roddi i'r amheuaeth hon yw fod yn rhaid i ddyn, mewn trefn i fyw o gwbl, i ymddiried ar y cyfan yn ei synhwyrau a'i feddwl, eu bod yn dweyd y gwir wrtho, neu ynte, ni wnai fwyta nag yfed, rhag mai gwenwyn a gymerai i'w ladd; ac nis gall yr amheuwr ei hunan ddilyn ei dybiaeth gydag un math o gysondeb, oblegid os yw pob syniad a fedd dyn i'w ameu, y mae tybiaeth yr amheuwr hefyd i'w hameu, ac felly cyflawna'r athroniaeth hon hunanladdiad, fel y gwnai y dyn yn wir a'i mabwysiadai yn rheol ymarweddiad. Y mae pob dyn o dan angenrhaid i ymddiried fod ei synhwyrau yn dweyd y gwir ar y cyfan wrtho, bob awr o'i fywyd, a phrawf bywyd i gyd fod yr ymddiriedaeth fel rheol yn iawn. Gellir dysgu un gwirionedd pwysig oddiwrth y dybiaeth wrthun hon, sef fod elfen o ymddiriedaeth, tipyn o anturiaeth ffydd, yn gorwedd wrth sylfeini gwybodaeth a bywyd oll.

3. *Y Synhwyriaeth Seisnig.*—Mynnai Descartes, tad athroniaeth ddiweddar, gychwyn

athronyddu heb gymeryd dim yn ganiataol, a chan ameu pob peth; ond gwelai nas gallai ameu ei fodolaeth ei hunan, ac allan o'r ffaith ddiamheuol o'i fodolaeth ei hunan deilliai gyfundrefn o athroniaeth yn cynnwys Duw a'r cyfanfyd. Ond diau i Descartes gymeryd ei gyfundrefn yn rhy hawdd allan o brofiad dyn, heb ei archwilio yn drylwyr. Bu raid wrth ddau gwrs arall o amheuaeth, cyn gyrru pobl i chwilio'r profiad dynol yn ddigon manwl i ddwyn allan o hono elfennau gwybodaeth ddiamheuol. Yr athroniaeth Seisnig ddaeth i lawr oddiwrth Thomas Hobbes a John Locke yw mamaeth holl amheuaeth ac Anwybyddiaeth y ddwy ganrif ddiweddaf. Ei phrif egwyddor yw mai trwy'r synhwyrau yn unig y daw pob syniad a gwybodaeth i feddwl dyn. Darluniai Locke y meddwl fel dalen o bapur gwyn yn barod i dderbyn pa argraffiadau bynnag a wnai'r byd allanol arno trwy'r pum synwyr,—y llygad, y glust, yr arogl, yr archwaeth a'r cyffyrddiad; ceisiai Locke ddangos sut y ffurfiwyd holl gynnwys meddwl dyn, ei syniadau cyffredinol, ei foes a'i grefydd, allan o'r argraffiadau hyn ac o adgofion ohonynt; credai ef fod tystiolaeth y synhwyrau yn ddilys a chredadwy, ac hyd y nod eu bod yn profi yn ddiamwys fodolaeth Duw. Ond o dan driniaeth fwy trylwyr David Hume, daeth yn amlwg nas gallasai syniadau nad oeddynt ond argraff ar y synhwyrau, ddwyn un dystiolaeth sicr am Dduw, nac am unrhyw hanfodion bodolaeth, oblegid nid oes gan yr argraffiadau

ar eu pennau eu hunain afael ar unrhyw wrthrych y tu hwnt iddynt eu hunain, nac un dystiolaeth am dano. Daeth casgliadau Hume drachefn yn lled agos i'r un man ag anffyddiaeth drylwyr ac amhosibl yr amheuwyr Groegaidd. Nis gall cyfundrefn sydd yn gorffwys ar y synhwyrau yn unig byth gyrraedd dim gwell, oblegid mewn tryblith o argraffiadau yn unig ni byddai nag unoliaeth na chysondeb na chyfanrwydd i'w gwneyd yn gyfundrefn sefydlog a bâr i ddyn gredu ei fod yng ngafael a bodolaeth fel y mae; nid oes ynddynt ddefnyddiau safon, sylwedd na gwirionedd. Heblaw hynny, nid oes y fath beth a synhwyrau yn unig yn bod, a bu raid i Locke a Hume ragdybied elfennau ereill gwreiddiol yn y meddwl, cyn adeiladu eu cyfundrefnau o wybodaeth, er nad oeddynt hwy yn sylweddoli eu bod yn gwneyd hynny.

4. *Amheuaeth feirniadol Kant.*—Ond nid yn ofer yr ysgrifennodd Hume, oblegid darllenwyd ei lyfrau gan Immanuel Kant, a deffrodd ei feddwl yntau, un o feddyliau mwyaf cawraidd yr oesau, i chwilio'n fanylach fyth i gynnwys meddwl dyn. Gwelodd ar unwaith nas gellid cymeryd yn ganiataol ddilysrwydd y syniadau traddodiadol am sylwedd, achos, enaid a Duw, eu bod, fel y tybid, yn rhyw ddrychfeddyliau sefydlog, hanner gwyrthiol ym meddwl dyn, heb eisieu gofyn o ba le na pha fodd y daethant. Cytunai â Hume fod

tystiolaeth y synhwyrau yn elfen ym mhob gwybodaeth, ond aeth y tu hwnt i Hume, i ddangos fod elfennau ereill hefyd ym mhob gwybodaeth,—rhyw ffurfiau gwreiddiol i'r meddwl dynol; ac yn fwy na'r cyfan, fod gweithrediad y meddwl hunan-ymwybodol yn gafaelu yn yr holl ddefnyddiau gwasgaredig a ddug y synhwyrau, ac yn eu cyfundrefnu yn gorff o wybodaeth; ym mhob gwybodaeth gan hynny yr oedd tair prif elfen yn anhebgorol, sef tystiolaeth y synhwyrau, ffurf-syniadau y meddwl, ac undeb bywiol hunanymwybyddiaeth. Ni fynnai Kant felly fod gwybodaeth resymegol yn bosibl, ond yn unig lle yr oedd tystiolaeth y synhwyrau yn rhoddi cynnwys i syniadau'r meddwl; ac am hynny, nis gellid ymresymu bodolaeth Duw, rhyddid ysbryd dyn, nac anfarwoldeb yr enaid. Credai Kant yn y rhai hyn oll, ond o'r gydwybod ac nid o'r rheswm y cawsai ei brawf o'u gwirionedd. Ac heblaw hynny, er fod gweithrediadau gwreiddiol y meddwl a thystiolaeth y synhwyrau gyda'u gilydd, yn gwneyd i fyny gyfundrefn o wybodaeth resymol a chywir am y byd, eto gwybodaeth oedd am bethau fel yr ymddangosant, ac nid yn hollol fel y maent, ac felly yn y pen draw yr oedd meddwl dyn yn analluog i ddod i wybodaeth o hanfodion pethau.

5. *Gosod crefydd ar seiliau amheuaeth.*—Cynhyrchodd dysgeidiaeth Kant ddwy linell o amheuaeth yn athroniaeth Seisnig y ganrif ddiweddaf, y naill o fewn cylch meddwl

crefyddol y cyfnod ei hunan, a'r llall ynglyn â gwyddoniaeth. Y Deon Mansel a dderbyniodd y syniad fod meddwl dyn yn analluog i wybod dim am yr hanfodol, ac yn arbennig am yr Anfeidrol a'r Diamodol, am Dduw, ond yn unig ei fod. Fel y cawsai Kant brawf o fodolaeth Duw yng nghydwybod dyn, felly daliai Mansel fod rhyw elfen grefyddol yn natur dyn yn profi fod Duw, ac yn gofyn am adnabyddiaeth o hono, ond na fedrai rheswm ddal na meddu dim gwybodaeth o hono, ac am hynny yr oedd yn rhaid i ddyn wrth ddatguddiad goruwchnaturiol i gyfleu iddo'r fath wybodaeth am Dduw ag oedd ar ei natur ysbrydol ei hangen. Felly y gobeithiai Mansel osgoi ymosodiadau rheswm ar grefydd, trwy eu gwahanu bob un i'w faes ei hun.

Yn gyffelyb y daliai'r Cardinal Newman fod meddwl dyn wrth natur yn ddidduw, yn groes a gelynol i bob gwybodaeth am Dduw, ac felly fod yn rhaid iddo wrth awdurdod allanol anffaeledig fel eiddo Eglwys Rufain i roddi iddo'r wybodaeth y mae ei feddwl yn anabl ac anfoddlon ei chael. Yr ateb i ddadleuon fel hyn yw nas gall datguddiad goruwchnaturiol nac eglwys anffaeledig roddi i ddyn wybodaeth y mae ei feddwl yn anabl i'w derbyn. Nid yw dyn yn osgoi'r perygl o adeiladu ei dŷ ar y tywod wrth osod haen o wellt rhwng y tŷ a'r tywod. Gwasanaeth peryglus i grefydd a wna'r neb a geisia ei sefydlu y tu allan i natur a rheswm dyn, oblegid

os nad oes le i wybodaeth o Dduw o fewn profiad a rheswm dyn oll, nid oes iddi le yn unman arall ar y ddaear, nac yn unlle arall y gwyddis am dano.

6. *Amheuaeth ynglyn a Gwyddoniaeth.*—I'r casgliad uchod y daeth Herbert Spencer a'i ysgol, ac yr oedd yn gasgliad mwy rhesymol oddiwrth y cynseiliau nag eiddo Mansel a Newman. Ymddengys i Spencer ddysgu hynny o athroniaeth briodol a wyddai oddiwrth Mansel, a llyncodd yn grwn y syniad nas gallasai meddwl dyn amgyffred na gwybod dim am Dduw, nac unrhyw hanfod ysbrydol, ond yn unig *fod* Duw fel achos pob peth a welir; ac nas gwyddid, ac nas gellir gwybod dim am dano. Yna trodd Spencer at wyddoniaeth am ei wybodaeth; allan o'i helfennau a'i hegwyddorion hi adeiladodd gyfundrefn fawr o syniadau am y byd allanol fel yr ymddengys i ni, a gosododd honno i fyny fel athroniaeth y cyfanfyd yn y modd y desgrifiwyd yn yr adran ar Naturiolaeth. Ond daliai hefyd fod mwy yn bodoli o'r golwg nag a welir yn y gwyddorau, fod y tu ol i'r cyfanfyd naturiol ryw Fôd anfeidrol sydd yn allu ac achos pob peth a ymddengys, a hwnnw yw Duw. Fe sylwir yn gyntaf fod Spencer, wrth alw'r Bôd hwn yn allu ac achos, yn honni wedi'r cwbl y gwyddai rywbeth am dano. Yn wir, nis gellir gwybod fod Duw heb wybod rhywbeth hefyd am dano; nid oes un ystyr i fodolaeth wâg heb un syniad

arall ynglŷn â hi, ac nis gallasai Spencer wedi'r cwbl ddal fod Duw, heb gysylltu âg Ef lawer o syniadau pwysig am dano. Teg yw gofyn yn yr ail le, ai nid yw Spencer wrth ddweyd fod Duw yn achos y byd wedi cyfleu ffaith sydd yn arwain yn uniongyrchol i lawer rhagor o wybodaeth am dano; a dug hyn ni yn ol at gwestiwn a godwyd yn y bennod flaenorol, ac a drinir yn fanylach mewn penodau dyfodol, sef a yw yr esboniad naturiaethol o'r byd yn ddigonol, neu ynte ai nid oes yn y byd elfennau sydd yn gofyn am achos ysbrydol i gyfrif am danynt. Ond y cwestiwn mwyaf sylfaenol yn y cysylltiad hwn yw, pa mor bell y mae'r dull hwn o esbonio profiad dyn, ar seiliau ei synhwyrau yn unig, yn dwyn allan ei holl gynnwys, ac yn dweyd y gwir am dano? Ateg gadarnaf anffyddiaeth boblogaidd y cyfnod presennol yw'r dybiaeth fod y synhwyrau yn dweyd yr oll a ellir wybod. Y mae gwybodaeth synhwyrol, gwybodaeth y gwyddorau naturiol, wedi dod yn gyfandir mawr o gynnwys meddwl y byd heddyw, ac y mae unrhyw wybodaeth ysbrydol yn llawer mwy anhawdd gafaelu ynddi a'i hamgylchu; a'r duedd dra chyffredin yw gwadu neu ameu neu anwybyddu unrhyw wybodaeth o'r fath. Y gorchwyl pwysicaf felly yw holi'n fanylach i gynnwys profiad dyn, a yw Naturiolaeth a Synhwyroliaeth wedi dweyd yr oll am dano, neu a oes ynddo elfennau ereill, mor wreiddiol, hanfodol, ac eglur i'r neb a'u hystyrio, ac yn arwain i wybodaeth o

deyrnas yr ysbryd? Cyn troi at y gorchwyl hwn, gofynnol yw egluro'n fyrr un gyfundrefn arall sydd yn cystadlu â Theistiaeth, ac yn gorwedd yn y canol rhyngddi a Naturiolaeth, cyfundrefn sydd yn caniatau bodolaeth Duw, ac hefyd y gellir gwybod am dano, ond sydd yn cynnyg syniad am dano nad yw wedi'r cwbl yn gwahaniaethu nemawr oddiwrth Naturiolaeth, neu y sydd fel Anwybyddiaeth yn ei ddwyn allan o bob perthynas a phrofiad dyn, sef Olldduwiaeth.

## V.—OLLDDUWIAETH.

7 *Duw a'r byd.*—Er y tuedda Olldduwiaeth i arwain i'r un diben ac effaith i grefydd ymarferol a Naturiolaeth ac Anwybyddiaeth, profi a wna hynny fod gwir yn y dywediad y cyd-gyferfydd eithafion, oblegid egwyddorion cyntaf hollol groes i'w gilydd sydd i'r ddau fath o ddamcaniaethau; cychwyna'r olaf gydag amrywiaeth y byd allanol, ac ni lwydda byth i godi yn effeithiol uwchlaw iddo, ond cychwyna'r blaenaf gydag unoliaeth pob hanfod, ac ni lwydda byth i wneyd lle i amrywiaeth ffeithiau profiad o fewn y gyfundrefn. Un fodolaeth sydd, a gellir ei galw yn Dduw, neu Gyfanfyd; oblegid y cyfanfyd, yr oll o bethau sydd yn bod, neu sylwedd hanfodol yr oll yw Duw, a Duw yw yr oll. Felly nid oes gwestiwn yma am fodolaeth Duw, a gwybodaeth am dano yw pob gwybodaeth wirioneddol; nid

yn unig duwinyddiaeth ac athroniaeth, ond hanes a gwyddoniaeth hefyd ydynt wybodaeth am Dduw. Ceir dau fath o Olldduwiaeth yn gwahaniaethu yn ol fel y bo'r pwyslais ar sylwedd mewnol neu ar ymddangosiadau allanol y byd; yn ol y dull cyntaf o feddwl, Duw yw rhyw sylwedd hanfodol sydd yn bodoli o'r golwg y tucefn i holl liwiau, lluniau a mudiadau natur, ac nid oes mewn gwirionedd unpeth arall yn bod. Nid yw ser a phlanedau, mynyddoedd a dyffrynoedd, moroedd ac afonydd, dynion ac anifeiliaid, ond rhyw gysgodion neu ledrith o'r hyn *sydd mewn gwirionedd*, fel ewyn ar wyneb yr afon, neu freuddwyd wedi codi o feddwl yr Anfeidrol.

Yn ol y dull arall o feddwl, Duw yw y gwrthrychau a welir, y cyfanfyd fel yr adnebydd gwyddoniaeth ef, ac nid oes un bôd uwch nac unrhyw fodolaeth arall, ond yn unig gyfanswm y bydysawd a adwaenir gan ddyn.

8. *Achosion ac achlysuron Olldduwiaeth.*—Cyfyd y gyfundrefn hon yn gyffredin o ddau gymhelliad; un yw yr awydd naturiol sydd ym meddwl dyn i synied am bob peth sydd fel unoliaeth, a lleinw'r syniad o unoliaeth y meddwl mor llwyr nes y cyll olwg ar yr amrywiaeth. Tuedd naturiol arall yn y meddwl yw cyfyngu y pethau sydd i'r pethau a wyddis, a thrachefn, cyfyngu gwybodaeth o fewn cylch y synhwyrau. Gwelwyd sut y datblyga'r duedd hon i Naturiolaeth; ond os y bydd y meddwl ar

yr un pryd o dueddfryd grefyddol, ac yn anfoddlon aros gyda natur heb Dduw, y llwybr byrraf i gael y ddau yw ei gwneyd yn un. Meddianna'r syniad hwn yn aml feddyliau fo'n ceisio cysoni gwyddoniaeth a duwinyddiaeth; pan fo gwybodaeth wyddonol yn gwasgu ei chynnwys i'r lle pennaf ym meddwl dyn, ac yntau yn ddyn crefyddol, y ffordd hawddaf i osgoi rhyfel cartrefol yn ei feddwl yw gwneyd y Natur y dysga gwyddoniaeth am dani hefyd yn wrthrych y parch a'r addoliad, yr ofn a'r cariad a deimla'r galon. Ymddengys Olldduwiaeth yn aml fel un o'r arwyddion fod meddwl oes neu wlad yn datblygu o ystâd o symledd i ystâd newydd fwy rhesymol, cyflawn a chymhlethog; y mae yn un ffordd i gadw yr hen bethau mewn enw, tra hefyd yn mabwysiadu dull newydd a mwy digonol o feddwl am fyd a bywyd. Pan welodd yr Indiaid fod hen amldduwiaeth y Veda yn blentynaidd ac afresymol, symudasant ymlaen i synied mai un Duw sydd, ond mai yr oll o bethau yw Efe, ac felly gallasant bara i addoli yr hen dduwiau am eu bod yn rhannau o'r Oll. Pan ddechreuodd y Groegiaid fyfyrio ar Natur a deall ei deddfau, ei threfn a'i hunoliaeth hi, teimlasant anhawsder i gysoni eu darganfyddiadau newyddion a'u hen syniadau am y duwiau, ac yna daeth y Stoiciaid ymlaen i ddysgu mai yr un oedd Duw a Natur, ac nad oedd trefn a deddfau Natur ond gair a rheswm yr un Duw. Felly yn amser Spinoza, daethai bri mawr ar syniadau gwyddonol ac

athronyddol am y byd na chaniataent le i Dduw ochr yn ochr â hwynt, a cheisiodd y gwr duwiolfrydig hwnnw osod crefydd o'r newydd ar sylfeini cedyrn, trwy wneyd Duw yn un ag hanfod pob peth sydd, tra nad yw pob peth arall nad yw Dduw ond ymddangosiad neu gysgod. A chyffelyb yw hi heddyw eto; y mae syniadau gwyddonol yn hawlio lle cynhyddol ym meddyliau dynion, a ffordd rhai i'w cysoni â chrefydd yw gwneyd Duw a'r byd yn un, a dal mai'r wybodaeth wyddonol am y byd yw'r wir wybodaeth am Dduw hefyd.

9. *Amrywiaeth a phersonoliaeth.*—Diffyg pennaf y gyfundrefn hon yw ei bod er mwyn unoliaeth a chysondeb yn anwybyddu ffeithiau, naill ai trwy wadu y ffeithiau ysbrydol sydd yn seiliau crefydd er gwneyd Duw o'r byd naturiol, neu ynte trwy wadu ffeithiau'r byd naturiol er sicrhau undeb a chysondeb delfrydol yn hanfod syml y Duwdod; ond bodola'r amrywiaeth yn ddiamheuol, ac nid ydys yn nes i'w hesbonio wrth eu hanwybyddu neu eu gwadu. Ac y mae dyn, a'i ymwybyddiaeth bersonol yn sylfaen pob gwybodaeth y sydd; ond os gwedir fod dim ond Duw, gwedir bodolaeth dyn fel person hunan-ymwybodol ac unigol, ac os mai cysgod yw dyn a holl gynnwys ei feddwl, pa le sydd yn aros i Dduw, neu o leiaf i unrhyw wybodaeth o hono? Nid yw ond cysgod ar gysgod; terfyna gyrfa Olldduwiaeth mewn diddymdra. Dyna ei

hanes yn India, lle yn unig y rhedodd ei chwrs llawn; casgliad Buddhiaeth oddiwrth gynseiliau Ollddwyfol Brahminiaeth yw, nad yw dyn a'i syniadau, a'r sylweddau y tybia dyn eu bod yn gorwedd y tu ol i bethau, i gyd oll ond cysgodion heb ddim yn eu cynhyrchu, a'u tynged a'u diben yw diflannu a pheidio a bod yn nistawrwydd Nirvana. Diau hefyd y rhed y meddwl weithiau y cwrs gwrthgyferbyniol, gan ddechreu gyda rhyw deimlad o freuder a gwywdod a diddymdra'r byd, ac am hynny glyna fwyfwy wrth y syniad o Dduw fel yr unig sylwedd sefydlog, ond sylfaen ansefydlog i'r syniad a'r profiad o Dduw yw meddwl nad oes ganddo afael ar ei sylwedd ei hunan.

10. *Hawliau Moesoldeb.*—Gan nad oes mewn Olldduwiaeth le i bersonoliaeth dyn, nid oes le ychwaith i'w gymeriad, i ewyllys, na chyfrifoldeb, na moesoldeb, ac nid yw gwahaniaethau moesol rhwng da a drwg ond cysgodion i ddiflannu yn yr un sylwedd syml. Am reswm arall nis gall Olldduwiaeth ganiatau fod gwahaniaethau moesol yn hanfodol, a phechod a drwg yn ffaith, oblegid gwnai hynny Dduw yn achos uniongyrchol drygioni, neu yn hytrach gwnai'r drwg yn rhan o Dduw. Yr unig ffordd ar y dybiaeth hon i osgoi'r fath gasgliad yw dal nad yw drwg a phechod ond cysgod negyddiaeth, ac nid yn ffeithiau pendant. Ond yn ben ar y cwbl nid yw Duw y gyfundrefn

hon ond Duw marw, heb ymwybyddiaeth na phersonoliaeth, heb bwrpas na rhyddid, heb allu i gymdeithasu â neb, na neb i gymdeithasu âg Ef. Nis gall Duw o'r fath ateb i ofynion y profiad crefyddol am gymdeithas, am arucheledd, am rywun i'w ofni a'i addoli.

Os mai rhyw hanfod amhersonol, deddfol, unffurf, marw, yw Duw, nid yw yn sefyll cyfuwch yng ngraddfa gwerth meddyliol a moesol a dyn ei hunan; neu os mai swm pob peth sydd yn y cyfanfyd yw Duw, nid yw eto yn uwch na dyn, ac nid oes reswm digonol dros i ddyn Ei addoli nac ufuddhau iddo.

Fel athroniaeth crefydd, nid yw Olldduwiaeth nemawr gwell na Naturiolaeth, oblegid cynhygia yn wrthrych addoliad fyd o ffeithiau neu sylweddau marw nas gellir cysylltu âg ef ffeithiau hanfodol addoliad personol. Fel athroniaeth y cyfanfyd naill ai y mae yn gyfystyr â Naturiolaeth, neu yn llai digonol lle y pâr golli'r byd mewn rhyw hanfod gwâg ac anamgyffredadwy. Daw yn amlycach yn yr hyn a ganlyn fod ffeithiau profiad naturiol a chrefyddol yn gofyn amgenach deongliad nag yw Olldduwiaeth, un fedr wneyd lle i fodolaeth dyn a byd, personau ac ewyllysiau, amrywiaeth a gwahaniaeth, yn gymhlethedig â'r syniad am Dduw.

## V.

## TYSTIOLAETH PROFIAD.

1. *Gwybodaeth a phrofiad.*—Yn y ddwy bennod flaenorol, ceisiwyd gosod allan mor glir a gonest ag y gellid o fewn y terfynau, yr holl wahanol wrthddadleuon a godir yn erbyn y gred yn Nuw a ddeil Cristionogion, ac yn ogystal, y cyfundrefnau gwrthgyferbyniol a gynhygir ; a rhoddwyd rhai rhesymau paham nas gellir derbyn yr un o'r cyfundrefnau hynny fel athroniaeth wir a digonol y cyfanfyd. Ond nid digon yw dangos diffygion cyfundrefnau ereill ; yn hytrach, mwy angenrheidiol yw dangos fod seiliau cedyrn i'r gyfundrefn a ddelir gennym, ac os gellir gwneyd hynny, diau y daw diffygion y cyfundrefnau ereill yn amlycach ar y ffordd. Ond pa le yn awr y dylid troi am seiliau, rhesymau a phrawfion ein cyfundrefn ? Pa le y ceir prawf neu dystiolaeth o fodolaeth Duw ? Y peth cyntaf a mwyaf cyffredinol i'w ddweyd yw fod yn rhaid i unrhyw brawf neu dystiolaeth i orwedd o fewn cylch profiad dyn, oblegid ar wahan a thu hwnt i hwnnw, nid oes i ni wybodaeth na phrawf o unpeth o gwbl. Un o anhawsderau parhaus y meddwl dynol i sylweddoli egwyddorion ei wybodaeth a chanfod ei sylfeini yw ei

duedd i anghofio ei hunan, ac i dybied fod pethau yn bodoli y tu allan i feddwl ac yn anibynnol arno; ond ychydig ystyriaeth a ddengys i ddyn nad oes wybodaeth nac ystyr mewn dim iddo ef, ond a orwedd o fewn cylch ei brofiad. Gall feallai fod yn rhywle ryw blaned o fath a dull ac enw na chlywodd, na ddychmygodd, ac na feddyliodd dyn erioed am dani, ond i ddyn nid yw honno yn bodoli, ac nis gall unrhyw brawf na thystiolaeth o'i bodolaeth ei gyrraedd ond trwy ei brofiad ei hunan.

2. *Gwahanol fathau o brawfion.*—Ond gall unrhyw wrthrych ddod i fewn i gylch profiad dyn mewn amryw foddau, a rhai o honynt yn fwy clir a sicr na'u gilydd. Er engraifft, ystyrier sut y daw dyn yn y wlad i wybod fod Llundain? Y ffordd gyntaf yw, trwy glywed neu ddarllen tystiolaeth rhywun arall. Yr ail ffordd yw gweld personau neu bethau wedi dod o Lundain; y drydedd ffordd yw mynd i Lundain a'i gweld ei hunan; ac eto gallasai dyn ddisgyn yn un o orsafoedd Llundain a thybied mai "Sunlight Soap" oedd ei henw, a methu gweld fawr wahaniaeth rhyngddi ychwaith a mwy nag un "Sunlight Soap" arall a welodd ar ei daith; gallasai deithio trwy rannau eang o'r ddinas heb adnabod gwahaniaeth rhyngddi a rhannau o ddinasoedd ereill; ni rydd profiad uniongyrchol yn unig wybodaeth o Lundain i neb; mae'n ofynnol fod

gan ddyn yng nghyntaf syniad am bellter a maint, am gyfeiriadau a chysylltiadau gwahanol rannau â'u gilydd, ac i wybod Llundain yn llwyr, rhaid iddo feddu syniad am y rheolau, y deddfau a'r egwyddorion sydd yn llywodraethu eu masnach a bywyd ei thrigolion, ac yn eu cysylltu â'r ddinas; yn fyrr, mae'n gofyn fod ganddo gyfundrefn fawr o syniadau a drychfeddyliau i esbonio'r profiadau uniongyrchol, cyn y rhydd y rhai hynny iddo unrhyw brawf o fodolaeth Llundain, nac un wybodaeth am dani. Fe ellir felly feddu pedair math o wybodaeth am Lundain, sef gwybodaeth draddodiadol, gwybodaeth trwy gasgliad rhesymol, gwybodaeth uniongyrchol neu brofiadol, a gwybodaeth ddelfrydol neu bersonol; ac y mae gwahaniaethau cyffelyb yn nodweddu'r gwahanol ffyrdd y gellir gwybod rhywbeth am Dduw.

3. *Moddau gwahanol y wybodaeth o Dduw.*—"Clywais â'm clustiau son am danat" yw'r ffordd gyntaf a mwyaf cyffredin y daw dynion i wybod am Dduw; "y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw Ef" sydd fodd arall i ddysgu am dano; "gwelais yr Arglwydd yn eistedd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig" sydd drydedd ffordd, ac engraifft o'r bedwaredd ffordd yw "Y Gair (neu y rheswm dwyfol) a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni yn llawn gras a gwir-

ionedd." Beth yn awr yw gwerth pob un o'r moddau hyn o wybod am Dduw, fel prawfion o'i fodolaeth, i'w gosod yn sylfeini ffydd? Daw y rhan fwyaf o bobl i wybod am Dduw trwy draddodiad, trwy glywed am dano gan ereill, a deil rhai fod hynny yn ddigon, fod tystiolaeth yr eglwys, neu'r Beibl, fod Duw yn bod, a'i fod wedi datguddio ei Hunan yn ddigon o brawf o hono; ond mewn gwirionedd nid yw tystiolaeth ynddi ei hunan yn brawf o gwbl, oddieithr fod rhyw fodd iddi i afael ar reswm a phrofiad dyn. Os creda un fod Duw ar dystiolaeth Esaiah neu Paul, golyga hynny dri gosodiad gwahanol: sef ei fod yn sicr fod ganddo yn ddilys dystiolaeth Esaiah neu Paul, fod Esaiah neu Paul yn dweyd y gwir, ac felly fod Esaiah neu Paul wedi cael profiad neu reswm digonol ynddo ei hunan o fodolaeth Duw. A chyffelyb yw ystyr pob tystiolaeth am fodolaeth Duw. Os cred y Pabydd fod Duw ar dystiolaeth y Pab, golyga hynny ei fod yn credu neu yn cymeryd yn ganiataol fod gan y Pab brofiad neu reswm digonol dros ei dystiolaeth; ac yn yr un modd cymer y Protestant dystiolaeth y Beibl, am ei fod yn cael yn y Beibl brofiadau a syniadau dynion oeddynt argyhoeddedig o fodolaeth Duw. Felly arweinia pob tystiolaeth ar hyd cadwyn o ymresymiad hanesyddol, yn ol at brofiad neu ymresymiad gwreiddiol ym meddwl y sawl y derbynir ei dystiolaeth fel awdurdod. Nis gall neb aros gydag awdurdod neu draddodiad neu dyst-

iolaeth allanol, oblegid gorffwysa y rhai hynny hefyd ar brofiad.

4. *Tystiolaeth uniongyrchol profiad.*—Wrth droi oddiwrth dystiolaeth allanol i ystyried gwerth y mathau ereill o wybodaeth am Dduw, feallai yr ymddengys ar y cyntaf mai'r cwrs byrraf a sicraf fyddai holi profiad yn uniongyrchol; ac y mae llawer o ddynion cedyrn o feddwl ac ysbryd wedi dal fod profiad personol dyn mewn rhyw ffordd neu gilydd yn uniongyrchol a digyfrwng yn gwybod fod Duw, fod ymwybyddiaeth dyn yn gallu canfod Duw, fel y cenfydd y llygad y goleuni, neu fel yr arogla'r ffroenau y rhosyn.

(*a*) Deil *Cyfrinwyr* pob oes fod yn ysbryd dyn (neu yn ysbrydoedd rhai dynion) allu neu gynneddf arbennig i ganfod Duw, sydd yn bodoli ar wahan ac uwchlaw i synwyr, rheswm, cydwybod, a phob agwedd gyffredin ar feddwl; ac yn rhinwedd y gallu hwn fod dyn yn dod i gymdeithas â Duw wyneb yn wyneb, ac i sicrwydd uniongyrchol o'i fodolaeth, sicrwydd cyn gadarned a bod byd allanol, neu ddyn ei hunan yn bodoli. Yn wir tybia rhai fod y sicrwydd yn gadarnach oblegid fod y berthynas yn nes na chymdeithas, mai undeb hanfod ydyw rhwng Duw a dyn, ac mai nôd ymgais dyn ddylai fod i golli ei bersonoliaeth ei hunan yn hanfod diwahaniaeth y Duwdod.

(*b*) Cenfydd y *Mewnweledwyr* dystiolaeth gyffelyb, a llawn mor sicr ac uniongyrchol, nid mewn unrhyw gynneddf oruwchnaturiol, ond yng ngweithrediadau cyffredin ac arferol meddwl dyn, naill ai mewn cydwybod, fel y dysgai Kant a Butler, neu yn y teimlad crefyddol o ymddibyniad, ymostyngiad, ac addoliad sydd yn perthyn i bob dyn byw, fel y tybiai Schleiermacher. Ymresymai Kant a Butler fod cydwybod yn sefyll uwchlaw i ddyn ei hunan, yn barnu ei weithredoedd, ei feddyliau a'i deimladau, ac yn ei orchymyn i'r naill lwybr, tra yn gomedd iddo lwybr arall, ac am hynny fod yn amlwg fod cydwybod yn deilliaw ei hawdurdod a'i chynnwys o rywle uwchlaw i ddyn, sef o Dduw.

(*c*) Yr ysgol ddiweddar o athronwyr a elwir y *Pragmadwyr*, a gymerant eu safle ar brofiad cyffredin a chymysg pob dyn fel y mae, a daliant fod pob elfen ynddo yn meddu rhyw werth ac ystyr arbennig ynddynt eu hunain, a bod eu gwirionedd i'w ganfod yn yr effeithiau a gynhyrchant,—"Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt, ac nid wrth eu gwreiddiau." Y cwestiwn i'w ofyn am bob syniad a fedd dyn yw, nid o ba le y daeth, na pha sylwedd sydd yn gorwedd y tu ol iddo, ond pa effaith a gynhyrcha, neu pa ddefnydd a ellir wneyd o hono; ac yn ol ei effaith a'i ddefnyddioldeb y mae ei wirionedd. Yng nghyfannedd profiad y rhan fwyaf o ddynion ceir elfennau o brofiad crefyddol,

teimladau o gymdeithas a gallu Duw, a'r rhai hynny yn amrywio a gwahaniaethu llawer o ran eu dull a'u modd, eu dyfnder a'u huchder; ond y mae pob profiad o'r fath, am ei fod yn rhan fyw, effeithiol o fywyd dyn, yn ei effaith yn profi ei wirionedd ei hunan. Profir felly fod Duw bob tro y ceir y syniad am dano yn elfen ymarferol ym mywyd dyn.

(*d*) Perthyn i'r un dosbarth o ymresymiad y mae yr hen brawf sydd wedi ei ddefnyddio lawer gwaith i brofi fod Duw, oddiwrth gyd-syniad cenhedloedd y byd, neu gyffredinedd crefydd. Ymddengys fod rhyw fath o grefydd, rhyw fath o addoliad, a rhyw fath o syniad am Dduw neu dduwiau, gan ddynion ym mhob man, ac ym mhob ystâd o wareiddiad. Amrywiant yn ddiderfyn bron o swynion Ffetisiaid o goed a maen, ac ofn ysbrydion a bwganod, heibio amldduwiaeth fel eiddo'r Groegiaid a'r Rhufeiniaid, i fyny at Undduw-iaeth y Cristion; ac o dan bob dull a modd, ceir rhyw gred mewn bôd neu fodau dirgel ac uwchddynol i'w hofni a'u cymodi, neu i'w parchu a'u caru. Y mae gwyddoniaeth crefydd fel ffrwyth ymchwiliadau manylach i hanes cenhedloedd anwaraidd y byd, wedi cadarnhau yn ddirfawr y gred fod crefydd yn hollol gyffredinol, ac yn bodoli mewn rhyw fodd lle bynnag y mae dynion. Ac ar sail y ffaith hon, fe ymresymir fod crefydd yn elfen hanfodol, fel moes neu reswm, yn natur dyn, ac felly y rhaid

fod gwrthrych i'w gael yn ateb i'r elfen hon, fod yn rhaid fod Duw ar gyfer crefydd y byd, fel y mae'r haul ar gyfer llygaid dynion. Ac hyd y nod, pe ceid fod ambell un neu ychydig ddynion heb grefydd o gwbl, dadleuir na fyddai hynny yn gwanhau'r prawf, mwy na byddai'r ffaith y genir ambell un yn ddall yn codi amheuaeth am fodolaeth goleuni.

5. *Gwerth y dystiolaeth uniongyrchol.*—Y peth cyntaf i'w ddweyd am yr ymresymiadau hyn oll ydyw fod ynddynt elfen bwysig o wirionedd, y dylid gwneyd cyfrif o honi ym mhob ymgais i brofi fod Duw, neu i geisio'r gwirionedd,—elfen sydd yn anhebgorol i'r neb a fynn adnabod Duw mewn gwirionedd. Rhaid yw i bob prawf i orwedd o fewn cylch profiad dyn a chyfrif rhywbeth iddo, ac y mae gan bob rhan o brofiad dyn hawl i gael ei gymeryd i'r cyfrif wrth wneyd i fyny swm bodolaeth. Rhaid i bob syniad a gyfetyb i sylwedd a gwirionedd gael ei fywyd ym mywyd dyn, a'i werth yng ngwasanaeth buddiannau a werthfawroga dyn, ac nis gall unrhyw syniad gario argyhoeddiad o'i wirionedd i neb os na fedr ef gyfrif rhywbeth i'w brofiad ac mewn rhyw fodd afaelu ynddo; yn y pen draw, rhaid i bob prawf o fodolaeth Duw, i ddyn fod yn brawf profiad. Heblaw hynny, y mae yn ddiamheu fod ym mhrofiadau crefyddol dynion fwy na fedrant byth amgyffred mewn syniadau neu fynegi mewn geiriau; meddianna crefydd holl

bersonoliaeth dyn, ei deimlad a'i ewyllys yn ogystal a'i ddeall; ac mewn teimlad ac ewyllys y mae o hyd ryw elfen ddirgel, gyfrin, unigol, nad yw yn bosibl ei mynegi na'i throsglwyddo i neb arall, ac na fedr y deall fyth mo'i darlunio yn llwyr. Ond y mae crefydd hefyd yn codi dyn uwchlaw iddo ei hunan, nes peri iddo ddywedyd, "nid myfi sydd yn byw mwyach, ond person dwyfol sydd yn byw ynnof fi." Dug cydwybod i brofiad dyn awdurdod a chenadwri "nas ganed o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gwr," ac yn y profiad hwn drachefn y mae elfen gyfrin, unigol, nas gellir ei throsglwyddo; ac hefyd elfen o anfeidroldeb nas gall y deall ei hamgylchu, nac ychwaith gan hynny ei hamgyffred na'i mynegi. Y mae prawf profiad felly yn rhagori mewn dwy ffordd ar unrhyw brawf rhesymegol a ellir gynnyg, sef yn ei sicrwydd bywiol o'i wrthrych; ac yn eangder ei gynnwys, yng nghyflawnder ei afael ar ei wrthrych.

6. *Terfynau prawf profiad.*—Ond pan droir i holi profiad yn fanylach, gwelir fod i'r prawf uniongyrchol hefyd ei derfynau a'i golliadau amlwg.

(*a*) Nid yw wedi'r cwbl ond prawf i'r dyn ei hunan, i'r dyn argyhoeddedig, nad oes arno mo'i eisieu. Nid yw yn bosibl i neb gyfleu y sicrwydd personol uniongyrchol sydd yn ei fynwes ef ei hunan, yn yr un modd uniongyrchol

i neb arall. Os mynn neb wadu i'r haul godi, nid yw wiw i mi dystio y gwelaf yr haul yn yr entrych, os na fedd yr amheuwr lygaid fel yr eiddof finnau i weld yr haul. Gall y profiad crefyddol fod o'r gwerth mwyaf i mi yn bersonol, ond os wyf fi i brofi i neb arall ddim o'i ystyr a'i werth, rhaid i mi geisio rhyw ffordd i'w fynegi mewn termau cyffredin, er ei drosglwyddo i feddyliau ereill.

(*b*) Nid yw yn bosibl ychwaith i gael *un* syniad cyffredinol o Dduw allan o amrywiaeth profiadau uniongyrchol. Mewn gwirionedd, fe geir yng nghrefyddau gwahanol y byd syniadau gwahanol lawer iawn am Dduw, ac os yw tystiolaeth uniongyrchol pob un i'w chymeryd fel y mae, a phob un i'w ystyried o werth cyfartal i'w gilydd, perygl sydd iddynt oll ynghyd i brofi gormod,—nid fod un Duw, ond fod llawer o dduwiau gwahanol iawn i'w gilydd.

Ymddengys fod un athronydd, y diweddar Athraw William James, am foddloni ar y dybiaeth fod hanfod bodolaeth yn llawer, ond y mae holl gwrs rhediad crefydd ac athroniaeth yn ei erbyn. Er fod profiadau crefyddol dynion gyda'u gilydd ac yn uniongyrchol yn dweyd am lawer o dduwiau, tuedd pob profiad unigol yw hawlio mai ei dduw ef yw yr unig wir dduw ; ac y mae yr awdurdod foesol a'r uwchafiaeth ysbrydol a gysylltir â Duw ym mhob man yn golygu ei fod ef yn ben uwchlaw pawb a

phob peth yn y cyfanfyd ; ac yn yr un modd gofyna rheswm wrth esbonio'r byd, am unoliaeth yn ei hanfod, am un meddwl neu egwyddor neu achos i egluro cysylltiadau pob peth profiadol â'u gilydd. Profi a wna cyffredinedd crefydd fod dyn yn fôd crefyddol, ac os edrychir y tu ol i'r amrywiaeth, diau y ceir un egwyddor ysbrydol yn gweithio ei hunan allan trwyddynt oll, ond nid yw honno i'w chanfod yn uniongyrchol.

(*c*) Gwir ystyr y dybiaeth y dylid cymeryd tystiolaeth uniongyrchol profiadau amrywiol fel y maent, a boddloni ar yr amrywiaeth, ydyw, nas gellir gwybod dim am hanfodion pethau, nac ychwaith am Dduw ; anwybyddiaeth yw yn y pen draw. Yr un egwyddor sydd yn rhedeg trwy y syniad mai mewn cydwybod, neu mewn teimlad yn unig y ceir tystiolaeth am Dduw, ac yn arbennig yn y syniad Cyfriniol fod y profiad o Dduw yn rhywbeth uwchlaw neu y tu allan i brofiad cyffredin, ac i syniadaeth deall a rheswm. Y mae dal nad yw'r wybodaeth o Dduw yn perthyn i gategoriau ac ysgogiadau cyffredin y meddwl yn gyfystyr â dal nas gellir gwybod am dano o gwbl.

(*d*) Ac nid yw tystiolaeth sydd yn gorwedd ar ddarnau gwasgarog o'r profiad wedi'r cwbl yn gorffwys ar seiliau y gellir eu galw yn brawf. Os yw rheswm, neu weithrediadau

cyffredin y meddwl, neu ryw rannau o brofiad dyn heb un wybodaeth am Dduw, cyfyd hynny ddadl gref yn erbyn tystiolaeth y profiad crefyddol ar ei ben ei hun ; os mai rhyw ynysoedd crefyddol ynghanol môr digrefydd yw profiad dyn, perygl sydd i lanw'r môr guddio'r tir. Ond y cwestiwn mwy hanfodol yw, pa fodd y gellir profi gwirionedd darnau unigol o brofiad ? Daw i brofiad dyn lawer syniad unigol, megis ei fod yn gweld drychiolaeth, neu ei fod yn filiwnydd, nas gallant ddal prawf y gwirionedd am nas gallant gysylltu eu hunain â chyfanedd y profiad dynol. Felly, os yw honiadau'r profiad crefyddol i brofi eu gwirionedd, rhaid iddynt allu cydfodoli mewn cysondeb â holl brofiad dyn ; os oes Duw, rhaid iddo fod yn Dduw yr holl ddyn, a'r prawf o hono yn codi o holl brofiad dynoliaeth. Golyga hyn oll fod yn ofynol edrych y tu hwnt i elfennau unigol y profiad crefyddol fel y cyfryw at yr egwyddorion cyffredinol sydd yn gorwedd odditanynt, ac yn eu cysylltu â holl brofiad dyn, ac felly i weld a ellir sefydlu gwirionedd crefydd, a'r prawf fod Duw, ar sylfaen eang gadarn profiad cyfan dyn.

## VI.

### EGWYDDORION CYFFREDINOL PROFIAD.

1. *Profiad crefyddol a phrofiad cyffredinol.*—Yr ydys yn awr wedi sylwi ar ddau fath o dystiolaeth am fyd a Duw a geisir eu dwyn allan o brofiad dyn ; y naill yn naturiaethol a pheiriannol, yn esbonio pob peth yn nhermau grym a mater marw, yn dal nad oes gan ddyn wybodaeth arall, nac yn ei brofiad un ffaith na gwirionedd arall, ac nad oes yn holl gyfundrefn gwybodaeth le i Dduw nac unrhyw ysbryd ; y llall yn ysbrydol, yn tystio fod dyn mewn perthynas bersonol, brofiadol â Bôd neu fodau byw uwchlaw iddo'i hunan, a bod y rhai hynny yn gweithredu trwy'r cyfanfyd. Gorffwysir y dystiolaeth olaf ar ffeithiau profiad crefyddol dyn, ac y mae gan y ffeithiau hynny fel rhan o fodolaeth hawl i gael eu hystyried, ac nid heb resymau cryfion y dylid casglu fod tystiolaeth mor bendant a chyffredinol yn codi o gamgymeriad. Mynn rhai, megis Ritschl a'i ysgol, adael y ddau syniad ochr yn ochr, a derbyn y ddwy dystiolaeth heb wneyd un cynnyg i'w cysoni â'u gilydd, ond nis gall y meddwl orffwys yng ngwasanaeth rhannol dau arglwydd, Duw a byd materol, yn anibynnol ar eu gilydd ; os mai peiriant yw'r byd, nid oes le i Dduw, ac os oes Duw rhaid ei fod yn

treiddio trwy holl fywyd dyn, ac yn llanw ei holl amgylchoedd. Gofynnol gan hynny yw dwyn y ddau syniad sydd felly yn gorwedd ar rannau o brofiad i brawf a chyflafareddiad y profiad cyfan; a yw profiad cyffredinol dyn yn cydsynio a'r dybiaeth mai peirianwaith marw, di-ysbryd a di-dduw yw ei holl gynnwys, neu ynte a yw yn hytrach yn cyd-dystio â'r profiad crefyddol fod i ysbryd a Duw le yn holl brofiad dyn?

2. *Unoliaeth profiad.*—Y mae profiad oll yn un, a phob darn o hono yn gysylltiedig â phob darn arall, ac yn perthyn i'w gilydd yn yr ystyr o fod yn un gyfundrefn yn cyd-ddibynnu ben bwy gilydd. Gellir gweld yr undeb hwn mewn tair gradd. Y mae profiad presennol, profiad y foment, ym mhob dyn yn unoliaeth, a'i holl elfennau yn cael eu cydgysylltu a'u llywodraethu gan egwyddorion a buddiannau sydd yn meddiannu a phenderfynu natur holl gylch ymwybyddiaeth y foment. Ond hefyd ymgysyllta profiad y foment bresennol a phrofiad pob moment flaenorol; edwyn y profiad ei hunan fel *yr un* trwy ei holl hanes, a rhed egwyddor o unoliaeth trwy holl elfennau ei hanes. Ac ymhellach eto, bodola pob profiad unigol mewn cysylltiad â phob profiad arall, a chydgysylltir hwy oll gan ryw egwyddorion cyffredinol. Cymer pob dyn yn ganiataol fod geiriau yn meddu gerllaw yr un ystyr i bawb ereill ag iddo yntau, a lliwiau yn ymddangos gerllaw yr un fath, a rheolau meddwl a myneg-

iadau teimlad yn gyffredin i bawb ; neu os nad ydynt, nid oes un gymdeithas yn bosibl rhwng dynion â'u gilydd, nac un math o gyfundrefn o wybodaeth gyffredinol yn bosibl ; ac y mae rhai o egwyddorion bodolaeth ymwybyddiaeth o gwbl yn dibynnu ar gymdeithas meddyliau â'u gilydd, megis categoriau sylwedd ac achos, personoliaeth a chyfrifoldeb moesol. Y mae profiadau unigol a phrofiad cyffredinol dynoliaeth felly nid yn unig *o'r* un defnydd, ond *yn* un defnydd, ac yn rhedeg i'w gilydd yn unoliaeth organaidd nas gall y naill fodoli heb y llall.

3. *Amrywiaeth mewn Unoliaeth.*—Eto yn yr unoliaeth y mae gwahaniaethau ac amrywiaethau ; yn wir, nid oes unoliaeth gwerth son am dani yn bosibl heb amrywiaeth o'i mewn. Y gwahaniaeth mwyaf cyffredinol ac hanfodol ym mhrofiad dyn yw yr un rhwng cynrych a gwrthrych, rhwng yr hunan sydd yn gwybod a'r gwrth-hunan y mae yr hunan yn gwybod am dano ; y mae y ddwy elfen hyn yn bresennol ym mhob moment o fywyd pob meddwl gwybyddus. Wrth edrych ar goeden, neu deimlo dannodd, neu feddwl rhyw syniad, yr wyf fi yn ymwybodol o flaen pob peth fod gwahaniaeth rhyngof fi a'r goeden neu'r ddannodd neu'r syniad, ac er eu bod yn anwahanadwy gysylltiedig â'u gilydd, y maent hefyd yn sefyll mewn gwrthgyferbyniad anorchfygol i'w gilydd ; ped ai'r gwrthrych ar goll ynnof fi, neu y fi yn y gwrthrych, darfyddai meddwl yr un pryd. Ni cheir

syniad cywir am brofiad na dim o'i gynnwys, oni ddelir yn dynn y ffaith hon, fod meddwl trwy bob agwedd arno yn ddeuoliaeth mewn unoliaeth, a'r naill mor gynhenid iddo a'r llall. Colli golwg ar hyn sydd yn peri syrthio i gamgymeriadau Deuoliaeth, Naturiolaeth a Materoliaeth. Tybir ar y naill law fod y meddwl a'i syniadau yn rhywbeth sydd yn bodoli ar eu pennau eu hunain, ac ar y llaw arall fod ei wrthrychau yn yr un modd yn bodoli ar eu pennau eu hunain; cymerir yr olaf felly fel cyfundrefn o "natur" neu "fater," fel pe yn bodoli heb fod a fynno meddwl nac ysbryd ddim â hi, a'r blaenaf fel rhyw gysgod neu gopi o honi. Ond mewn gwirionedd, nid oes wrthrych heb feddwl na meddwl heb wrthrych; ac y mae gwahanu y pethau hyn, sydd yn hanfodol anwahanadwy, yn arwain yn union i gyfeiliornad; fel y dywed Dr. Ward,—ym myd meddwl, nid yw dau hanner yn gyfartal i un cyfan. Deil yr egwyddor hon yn wir o gylchoedd isaf bywyd i fyny. Nid yw blodeuyn a'i wraidd, wedi eu torri oddiwrth eu gilydd, yn gyfartal i'r ddau yn tyfu yn un. Gwyddai Solomon y byddai un plentyn byw ym meddiant rhywun arall yn fwy gwerthfawr gan fam na hanner plentyn yn ei meddiant ei hunan. Yr hyn a wna Naturiolaeth a Deuoliaeth yw rhannu profiad yn ddau ddarn, a chynnyg y darnau ar wahan fel esboniad ar y cyfanfyd anwahanadwy.

4. *Profiad unigol a chyffredinol.*—Nodwedd arall gyffelyb i'r olaf yw'r gwrth-gyferbyniad

ar sail unoliaeth ddidor sydd rhwng yr unigol a'r cyffredinol ym mhrofiad dyn. Medd yr hil ddynol ystorfa o wybodaeth ac o syniadau sydd yn gyffredin i bawb neu i'r rhan fwyaf, ac a drosglwyddir i lawr o oes i oes, ond a ychwanegir ati hefyd gan bob oes. Cytuna pawb fod y lili'n hardd, y meusydd yn wyrdd-las, yr haul yn gynnes, a llu o ffeithiau cyffelyb. Bu pawb yn cytuno fod yr haul a'r lloer yn codi a gostwng, ond erbyn heddyw daw pobl i gytuno yn y mater hwn mai'r ddaear sydd yn troi; ac yn yr un modd y daw darganfyddiadau ereill gwyddoniaeth yn raddol yn feddiant y lliaws. Cydnebydd ac adnebydd pawb syniadau o'r fath hyn yn feddiant cyffredin y meddwl dynol. O'r tu arall y mae i feddwl oll ei ochr unigol; cychwynnodd pob syniad sydd gan ddynoliaeth mewn rhyw feddwl arbennig, fel y cychwynnodd y syniad fod y ddaear yn troi ym meddwl Galileo; a mwy na hynny, fe ddelir y syniadau hyn heddyw gan feddyliau unigol, ac ni fodolant mewn un modd arall; ar wahan i feddyliau unigol nis gallant fod; nid yw'r profiad cyffredinol ond unoliaeth profiadau unigol, ac y mae rhyw Fyfi yn ganolbwynt a ffynhonnell iddynt; a pherthyna i bob profiad unigoliaeth ac arbenigrwydd nad yw yn bosibl eu cyfleu na'u cyfrannu i neb arall. Pan edrycha dau ddyn ar yr haul, gwelant rywbeth sydd yn gyffredin rhyngddynt ac y gallant gytuno â'u gilydd am dano, ond erys rhywbeth yn

arbenigol, sef perthynas yr edrychiad a'r Myfi, nas gall y naill ei gyfleu i'r llall. Y peth pwysig i'w gofio yw fod y neilltuolrwydd a'r unigoliaeth hon yn perthyn i bob meddwl, ac yn gorwedd y tu ol i bob syniad a phob cyfundrefn feddyliol. Camgymeriad tra chyffredin yw tybied y gall fod rhyw gyfundrefn o syniadau, fel eiddo gwyddoniaeth, yn bodoli ar wahan i bob ymwybyddiaeth bersonol; ond y mae'r fath dŷb mor wrthun a gwrthwyddonol a'r dybiaeth fod goleuni wedi ei greu dri diwrnod o flaen yr haul a'r lloer a'r ser.

5. *Tair agwedd meddwl.*—Darn o'r un gwirionedd o safbwynt arall yw fod ewyllys a theimlad yn elfennau mor gynhenid mewn profiad ag yw syniadaeth a deall; y mae'r tair agwedd hyn ar feddwl yn bresennol lle bynnag y bo meddwl. Nis gellir meddwl heb ryw ymwybyddiaeth o wrthrych, ac felly, heb ryw elfen o syniadaeth; ond nis gellir meddwl ychwaith heb dalu sylw i'r gwrthrych, heb droi'r meddwl yn weithredol ato, hynny yw, heb ewyllys; ac nid yw ymwybyddiaeth dyn byth heb ryw elfen o deimlad, pleserus neu boenus, yn rhan o hono. Ffynna tuedd lled gyffredin i gyfartalu meddwl â syniadaeth neu ddeall yn unig; a mwy na hynny, i dybied y gellir cael cyfundrefnau o syniadau heb un berthynas rhyngddynt âg ewyllys a theimlad. Arferai'r tadau Groegaidd gynt ddeffinio Duw fel meddwl pur, digymysg, ac

wrth hynny golygent nad oedd yn bosibl iddo i deimlo o gwbl. Yn gyffelyb cynhygia Naturiolaeth heddyw esbonio profiad heb gymeryd teimlad i'r cyfrif, a chan wadu fod ewyllys o gwbl, a dyna'r modd y ceuir ysbryd allan o'r gyfundrefn Naturiolaethol. Mewn teimlad ac ewyllys yn bennaf y ceir arbenigrwydd ac unigoliaeth profiad, elfennau hanfodol personoliaeth. Yr hyn sydd yn rhoddi i'r Myfi ei ystyr a'i neilltuolrwydd, yn peri adnabod fy mhrofiad i fel yr eiddof fi, a'i fod yn wahanol i'r eiddo neb arall, yw'r teimlad sydd yn cydfynd âg ef. Ac mewn ewyllys, mewn gweithrediad, y cyfyd yr ymwybyddiaeth o sylweddolrwydd, o wirfodolaeth pethau. Pe buasai meddwl yn amhersonol, yn unig yn derbyn argraffiadau a darluniau o bethau, diau na fyddai yn bosibl gwahaniaethu rhwng cyfundrefn o syniadau gwir a ffugchwedl. Dr. Johnson ddywedai ei fod ef yn gwrthbrofi'r ddamcaniaeth mai syniadau yn unig a fodolent, wrth daro ei droed yn erbyn carreg, a diau fod gwir yn y dywediad ; ni wnai edrych ar garreg lwyd ragor na rhoddi i ddyn syniad o liw llwyd, ac ni phrofai fod dim yn bod y tu allan i'w lygaid neu ei ymenydd ef ei hunan, ond pan ddaw ei ewyllys i wrthdarawiad â rhywbeth fo yn ei wrthwynebu, caiff ei argyhoeddi fod rhywbeth mor wirioneddol ag yntau yn bodoli y tu allan iddo.

6. *Sylwedd ac Achos.*—Felly yng ngwrthdarawiad a chydweithrediad ei ewyllys â'r

byd y caiff dyn afael ar ddau o syniadau hanfodol ei brofiad, sef Sylwedd ac Achos. Tybid unwaith fod Sylwedd yn rhywbeth dirgel a orweddai y tu ol i ymddangosiadau profiad, ac yn eu cynhyrchu a'u cynnal, ond nas gellid gwybod nemawr yn ychwaneg am dano; a bod Achos yn rhyw gadwen gyfrin yn cysylltu digwyddiadau â'u gilydd, ond nas gellid gwybod dim am ei natur na dull ei weithrediad. Gwaith hawdd oedd i Hume ddangos nad oedd un sail i gredu mewn pethau nas gellid gwybod dim am danynt, na chael un profiad o honynt; ac felly nad oedd dim y gellid galw enaid arno, ar wahan i elfennau ereill profiad; ac nas gellid canfod achos yn olyniaeth digwyddiadau; na Duw yn unlle yn nhroell naturiaeth. Pe na buasai ym mhrofiad dyn ddim ond syniadau, dywedasai Hume y gair olaf ar y pwnc, fel y tybia amheuwyr ei fod wedi gwneyd; ond anghofio ei "Hunan" a wnaeth Hume, fel y gwna ei olynwyr hyd heddyw. Pan edrychir yn fanylach ar brofiad, gan wneyd cyfrif o'r ewyllys, ceir ymwybyddiaeth ddiamheuol o fodolaeth sylweddol Hunan, a byd y tu allan iddo, yn eu gwrthweithiad â'u gilydd. Ac yng ngweithrediad yr ewyllys hefyd ceir profiad gwirioneddol o Achosiaeth; gŵyr dyn pan yn cicio carreg o'r ffordd mai efe sydd yn achosi ei symudiad; a phan ystyria yn fanylach, cenfydd fod holl gynnwys ei brofiad, ei holl fyd, yn bodoli iddo fel y mae, am ei fod yn ei ewyllysio, ac felly yn rhannol yn ei achosi; os dewisa gau un llygad, newidia ei

fyd iddo, neu os gesyd wydrau gleision ar ei lygaid, newidia drachefn; os gesyd ei fryd ar gasglu cyfoeth, neu ar astudio'r ser, neu ar esbonio etholedigaeth, cynhyrcha fyd gwahanol bob tro. Gŵyr hefyd y gall ei gyd-ddyn ewyllysio ac achosi cyfnewidiadau yn ei brofiad ef fel y gall yntau ym mhrofiad ei gyd-ddyn. Yng nghyfathrach ewyllys ag ewyllys y caiff dyn y profiad llawn o Achosiaeth, yn ei agwedd weithredol a goddefol. Ystyr hyn oll yw y caiff dyn, pan yn cymeryd ei brofiad cyfan oll o ddifrif, fod y ddau gategori, Sylwedd ac Achos, yn gorwedd wrth ei wreiddiau, ac nas gellir eu hameu heb i ddyn ameu ei fodolaeth ei hunan. Ac eto, gwrthddadl gadarnaf anghrediniaeth heddyw yw nas gellir gwybod dim o gwbl am nag Achos na Sylwedd.

7. *Nid ewyllys heb ddeall.*—Yr ydys wedi gosod cymaint pwys ar yr ewyllys, am mai ei gwirionedd hi a wedir yn bennaf yn yr athrawiaeth wrthgrefyddol. Eto, nid esbonir na byd na phrofiad yn iawn, heb wneyd cyfrif llawn o holl agweddau'r meddwl mewn cysylltiad â'u gilydd, yr holl amrywiaeth mewn unoliaeth. Swm y bennod hon mor belled yw, (*a*) fod profiad oll yn hanfodol ddeublyg ac ym mhob man yn cynnwys "Hunan" a'i wrthrych mewn perthynas â'u gilydd, y "myfi" a'r "nid-myfi;" ac (*b*) fod yn perthyn i'r "myfi" arbenigrwydd ac unigoliaeth sydd yn mynegi eu hunain mewn tair agwedd, syniadaeth neu ddeall, ewyllys a

theimlad. Dangoswyd fod holl berthynas dyn a'i wrthrych, sef â'r byd a edwyn, yn dibynnu ar ei ewyllys; oblegid ynddi hi y daw i argyhoeddiad o'i sylweddolrwydd ei hunan ac eiddo'r byd; ac o berthynas achosol rhyngddo ei hunan ac ereill, rhyngddo ei hunan a phethau, ac yna rhwng pethau a'u gilydd. Ond rhaid cadw mewn côf nad yw yr ewyllys yn gwneyd hyn heb gydweithrediad ochr ddeallol y meddwl, nad yw yn cicio carreg heb wybod mai carreg ydyw, ac nid blaen picell, neu os y cicia flaen picell, fe ddysga wybod yn well erbyn tro arall. Yn yr un modd, yn holl ymwneyd yr ewyllys â'r byd, yn ei wrthdarawiadau a'i gydweithrediadau, fe ffurfia'r meddwl syniadau am y byd i arwain yr ewyllys ar hyd cwrs neilltuol, ac felly yn araf yr adeiledir y gyfundrefn o wybodaeth sydd gan ddyn am y byd. Nid y byd sydd yn gwasgu ar y meddwl, nac yn rhoddi iddo, ei gyfundrefn o syniadau; ac nid y meddwl ychwaith yn ei gadair freichiau sydd yn dyfeisio ei gyfundrefn, fel y gwea'r coryn ei wê; ond y meddwl yn ei berthynas ymarferol â'r byd gynhyrcha'r gyfundrefn sydd yn ei alluogi ef a'r byd i gydfyw â'u gilydd, ac nid i gydfyw rywfodd, ond yn ol trefn y mae'r byd yn cydgordio â hi, a gofynion deddfau'r meddwl ar yr un pryd yn ymfoddloni ynddi. Kant ddywedodd mai'r meddwl sydd yn gwneyd natur, nid ei gwneyd allan o ddim, ond ei gwneyd o brofiad deublyg y meddwl mewn perthynas â'i wrthrych. Yr ydys yn awr wedi cyrraedd pwynt cyfleus

i dynnu dau gasgliad y bwriedir eu defnyddio yn ol llaw:—(i.) fod pob math o gyfundrefn feddyliol a all dyn feddu yn rhwym o fod yn greadigaeth meddwl byw cyfan, yn greadigaeth ysbryd; heb ysbryd nis gall fod cyfundrefn feddyliol, ac y mae hyd y nod y damcaniaethau sydd yn gwadu fod ysbryd yn rhagdybied ei fodolaeth yn eu cread eu hunain; (ii.) fod y byd wrth gydffurfio â'r fath gyfundrefn, a chaniatau ei esbonio ganddi, yn dangos ei fod yntau yn ei drefn a'i hanfod, nid yn unig yn rhesymol, ond yn ysbrydol, wedi ei greu ar lun a delw dyn, yn derbyn i'w esbonio gategoriau deall ac ewyllys dyn, ac nad yw yn bodoli o gwbl ond mewn priodas ddiysgar â'i gydmar ysbrydol.

8. *Teimlad a gwerth.*—Ond yr ydym yn awr yn esgeuluso un elfen ym mhrofiad dyn, ac felly un elfen yn esboniad y cread, sef teimlad; a hwn sydd yn rhoddi i syniadau ei lliw ac i ewyllys ei grym. Y rheswm y peidia dyn gicio blaen picell ddwywaith yw ei fod wedi cael poen wrth wneyd hynny y tro cyntaf; y rheswm yr aiff dyn i Landrindod a Llandudno drachefn a thrachefn yw, ei fod wedi cael mwynhad yno y troion cynt. Teimlad sydd yn dwyn i fewn i gyfundrefn feddyliol dyn y syniad o *werth*; nis golygir mai teimlad yn unig sydd yn gwneyd hynny, oblegid nid oes y fath beth a "theimlad yn unig;" un elfen yw teimlad yng nghyfannedd y meddwl, ac yn gofyn ei gadw mewn cydgord â'r elfennau

ereill, er iddo gyflawni ei genhadaeth yn iawn; os aiff ef allan o gydgord â rheswm a bywyd ymarferol, gesyd i fyny safonau anghywir iawn o'r hyn sydd werthfawr; teimlad o'r fath hynny yw blys; par i ddyn werthu ei enaid am ychydig funudau i'w foddio; meddwl wedi colli ei gydbwysedd a wna hynny. Ond y mae teimlad yn bresennol ac iddo ei le a'i waith ym mhob moment o fywyd y meddwl; nid yw canfyddiad y gwirionedd heb elfen o foddhad yn cydfynd âg ef, ac yn rhan o hono; ac y mae pob mudiad a gweithrediad ewyllys yn cael eu rhwystro neu eu hyrwyddo gan y teimlad sydd yn cydfynd â hwynt. Elfen bwysig yw teimlad yn ymwybyddiaeth dyn o hono ei hunan; nid oes dim yn fwy cyfrin ac arbenigol ym mhrofiad dyn ei hunan, na dim yn fwy dieithr iddo ym mhrofiadau dynion ereill, na theimlad. Gall dyn i raddau gyfranogi yn syniadau a gweithrediadau pobl ereill, ond nid yn eu teimladau; gall deimlo dros, a theimlo gyda dynion ereill, ond teimlo ei deimladau ei hunan yn unig a wna. Y mae teimlad gan hynny yn elfen bwysicach nag a gydnebydd athronwyr yn gyffredin, ym mhersonoliaeth dyn, yn yr hyn sydd yn ei wneyd yn Hunan, ac yn ei wahaniaethu oddiwrth bob Hunan arall. Gwasanaetha teimlad fel elfen i unoli profiad dyn trwy ei ganolbwyntio mewn un buddiant, i geisio mwynhad neu osgoi poen. Ac y mae'r elfen hon yn bresennol yn holl berthynas dyn â'r byd gwrthrychol,—yn ei ddal gyferbyn â'r

byd fel person unigol, a barna yntau'r byd yn ol safon pleser a phoen. Eto nid teimlad yn unig sydd yn gwneyd i fyny i ddyn werth y byd, ond teimlad yw mynegydd parotaf ei werth, ac yn arbennig ei werth iddo'i hunan; teimlad yw yr elfen amlycaf mewn perchenogaeth.

9. *Safonau'r Gwir, y Da, a'r Hardd.*—Yn cyfateb i dair agwedd fewnol yr un meddwl y mae agweddau gwrthrychol i'r un byd a ddehongla'r meddwl. Barna dyn fyd a bywyd o dan dair safon, sef y gwir, y da, a'r hardd, "a'r tair hyn, yn un y maent yn cytuno." Y rheswm yn fwyaf arbennig sydd yn barnu'r gwir, ond ewyllys a theimlad sydd yn hoelio'r gwir hwnnw wrth sylweddau hunan a byd; tŷ ar y tywod fuasai cyfundrefn resymol yn unig. Rhywbeth i'r ewyllys i'w wneyd yw'r da; nis gwelwyd ac nis teimlwyd ef yn unlle, oblegid y mae o hyd yn cael ei wneyd; ac eto wrth ei wneyd barna'r rheswm a gwerthfawroga'r teimlad ef. Rhywbeth i'r galon i'w fwynhau yw'r hardd, ond nis gellir ei fwynhau heb ei ganfod, na'i ganfod heb ei ewyllysio. Feallai y gall y meddwl ymdrin â'r byd o dan y safbwyntiau hyn i raddau bob un ar wahan, ond mewn profiad addfed, cyflawn a chyfan, y maent oll yn cydfyw, ac yn cyd-benderfynu natur a chynnwys y profiad. Ymgais uwchaf y meddwl yw casglu y gwir, y da a'r hardd ynghyd i un gyfundrefn neu ddelfryd perffaith, a all gynnwys a deongli pob peth ynddo'i hunan. Feallai nas gellir byth ddeffinio y fath ddelfryd yn

llwyr; nid yw y profiad dynol "yn bwrw ddarfod iddo gael gafael arno," ond y mae o hyd yn "cyrchu ato" fel nod a ddaw yn eglurach po fwyaf y ceisir ef. Ond y pwynt i'w ddal yn glir yn y fan hon yw fod meddwl dyn yn gosod nod o'i flaen, ei fod yn barnu a phrisio pob peth gorffennol, ac yn ceisio ffurfio pob peth dyfodol mewn perthynas â'r nod neu'r safon hon. Dyma nodwedd bennaf a mwyaf llywodraethol meddwl dyn, a'r hyn sydd yn ei symud bellaf a'i wahaniaethu fwyaf oddiwrth beirianwaith marw'r Materolwyr a'r Naturiolaethwyr. Nid yn unig y mae yn ymwybodol ac yn hunanymwybodol, ac yn canolbwyntio ei holl rannau ynddo'i hunan, ond perffeithir ei unoliaeth bersonol gan ei waith o hyd yn symud at nod, yn byw i amcan, yn cyflawni ei fywyd mewn bwriadau a esyd o'i flaen i'w sylweddoli; hyn yw yr elfen fwyaf hanfodol yn ei bersonoliaeth a'i ysbrydolrwydd.

10. *Amcan ysbrydol yn y byd.*—Nid yn unig y mae ymwybyddiaeth dyn o'i du ei hunan fel hyn yn bersonol ac ysbrydol, ond llywodraetha ei bersonoliaeth ei holl brofiad o'r byd. Nid edwyn efe'r byd, ac nid oes iddo fyd, ond yn ei brofiad personol ei hunan; a byd yw hwnnw y gall ei amgyffred â'i ddeall, ei newid â'i ewyllys, ei brisio â'i deimlad, byd sydd wedi symud yn y gorffennol at amcanion y gall meddwl yn unig eu gwerthfawrogi, ac y gellir eu ffurfio yn y dyfodol i wasanaeth bwriadau y gall meddwl yn unig eu gosod i fyny a chyrchu

atynt. Y mae yr unig fyd y gŵyr dyn am dano felly yn ysbrydol yn ei hanfod fel dyn ei hunan. Gwir y gall dyn dynnu ei fyd yn ddarnau, ac ystyried pob darn ar wahan, fel y gwnaeth Wil Bryan â'r cloc; a hynny a wna gwyddoniaeth. Gellir felly adael o'r neilltu am dro y ffaith fod yr oll yn dibynnu ar feddwl personol ac yn perthyn i'w ddelfryd, ond nid yw esgeuluso neu anghofio ffaith yn ei difodi. Mae'n bosibl i'r meddwl i gyfyngu ei sylw mor llwyr i agweddau rhannol ar bethau, nes anghofio mai rhannau ydynt, a'u bod yn perthyn i gyfanwaith y meddwl. Dyna wnaeth Wil Bryan â rhai o olwynion y cloc, a dyna wna'r Naturiolaethwyr pan yn esbonio'r cread fel peiriant marw heb gymeryd meddwl i'r cyfrif. Nid yw hynny ond esgeuluso, neu anghofio, neu wadu'r ffaith fwyaf hanfodol a berthyn i bob peth; sef mai meddwl byw personol sydd wrth wraidd y cyfan, ac mai amcan ysbrydol sydd yn llywodraethu a chyfanu'r oll yn un. Nid yw gwyddoniaeth wir yn dysgu dim sydd yn groes i hyn, oblegid nid yw hi ei hunan ond ffrwyth meddwl yn cyrchu at ei nod; nid yw ei damcaniaethau, ei deddfau a'i holl gyfundrefn ond rhwydwaith o syniadau a greodd ac a ddefnyddia'r meddwl er darostwng y byd i amcanion ysbryd dyn. Pan holir gwyddoniaeth gyfan yn fanwl, ceir ei bod hi yn ei gwraidd, yn ei hanes ac yn ei rhagolwg bresennol, yn tystio'n ddifloesgni mai ysbryd byw delfrydol, yw defnydd a grym, rhediad ac amcan, bodolaeth yr holl gyfanfyd.

## VII.

## TYSTIOLAETH Y BYD AM DDUW.

1. *Arweiniad i'r prawfion.*—Swm y casgliad o'r bennod ddiweddaf yw fod dyn a'i fyd ynghyd, o natur meddwl ac ysbryd, ac nid o natur mater, neu beiriant neu ddeddfau meirwon; ac os cywir y casgliad hwn, gellir dweyd o leiaf nad yw yn amhosibl fod Duw. Pe cywir fuasai'r ddamcaniaeth wrthgyferbyniol, fod hanfod y byd yn faterol neu anysbrydol, ceuid allan felly bob posibilrwydd fod Duw o gwbl fel Bôd byw, personol; ond y mae trem agos ar natur gyffredinol profiad yn dangos mai ysbrydol yw ei hanfod, ac felly fod ynddo le i Dduw. Y mae yn bryd holi yn awr, a yw tystiolaeth gyfan profiad yn mynd ymhellach, ac yn rhoddi sylfaen tebygolrwydd neu sicrwydd fod Duw. Y ffordd fwyaf manteisiol a ffrwythlon i ystyried y cwestiwn hwn fydd, gosod ger bron y prawfion a gynhygir yn gyffredin o fodolaeth Duw, ac ystyried eu grym a'u gwerth. Ceir golwg felly ar y prif ffyrdd y mae'r meddwl dynol ar hyd yr oesau wedi ceisio mynegi, mewn cyfundrefn resymol, ei argyhoeddiad fod Duw; ac os ceir y rhai hynny yn ddigonol, ni bydd eisieu ychwanegu atynt, neu os ceir hwynt yn anigonol, bydd cyfle i weld a ellir gwella arnynt. Gellir rhanu'r prawfion arferol i dri dosbarth, sef y

prawfion oddiwrth y byd, y prawfion oddiwrth natur foesol dyn, a'r prawfion oddiwrth gynnwys pur y meddwl ynddo'i hunan. Yn y bennod hon ystyrrir y dosbarth cyntaf, sef y prawfion oddiwrth y byd ; y mae o leiaf ddau brawf o'r fath yn cael eu cynnyg, sef y prawf achosol, a'r prawf oddiwrth drefn a bwriad yn y byd.

### I.—Y PRAWF ACHOSOL.

2. *Deddf Achos ac Effaith.*—Fod i bob effaith ei achos, ac na ddaw dim o ddim, sydd egwyddor a gydnabyddir yn gyffredinol mewn gwyddoniaeth ac athroniaeth, a chan synwyr cyffredin. Ni waeth plentyn na gwyddonydd, y mae pob meddwl yn troi oddiwrth bob gwrthrych gweledig gan ofyn, Paham? Nis gellir meddwl am unrhyw wrthrych heb ei gysylltu â rhyw beth neu bethau oedd o'i flaen, ac a ystyrrir yn cyfrif am dano neu yn achosion iddo. Dacw dŷ y bu rhywrai yn gosod coed a cherrig wrth eu gilydd i'w adeiladu, a bu rhywrai ereill yn cludo'r coed o'r allt a'r cerrig o'r chwarel at hynny, a dywed y gwyddonydd pa alluoedd yn oesoedd boreu'r byd drodd y llaid yn gerrig llwydion, a pha elfennau o ddaear dŵr ac awyr barodd i'r coed i dyfu. Yn yr un modd gyda phob gwrthrych gweledig; mynn y meddwl ei ddilyn yn ol i achosion, oeddynt eu hunain yn eu tro yn effeithiau achosion ereill, a fuont hwythau hefyd yn effeithiau, ac nid oes diwedd i'r gadwyn o effeithiau ac achosion. A'r hyn sydd

wir am bob darn o'r byd, sydd hefyd yn wir am yr hollfyd fel cyfannedd, mor bell ag y gwyddom am dano. Dyma wirionedd y mae gwyddoniaeth wedi ei egluro a'i bwysleisio, ac wedi eangu ei derfynau gyda phob cynnydd a wnaeth. Bu adeg pan soniai pobl am ddamweiniau a gwyrthiau fel pethau yn digwydd heb un achos iddynt, o leiaf yn y byd naturiol; ond sylfaenir gwyddoniaeth ar y syniad fod pob ffaith yn effaith ac iddi achos, a phrif waith gwyddoniaeth yw olrhain yr achosion. Ond er i wyddoniaeth i olrhain effeithiau i'w hachosion o ddolen i ddolen yn y gadwyn, nid yw yn bosibl i'r meddwl i gael un lle i orffwys ynddo o fewn cylch y byd naturiol; er treiddio yn ol trwy filfiwyddi maith yr oesoedd daearegol, y mae pob achos o dan lygaid yr ymchwilydd yn troi yn effaith, ac yn gofyn am achos i gyfrif am dano.

3. *Y gofyn am Achos cyntaf.*—Ond nis gall y meddwl dynol wibio felly yn ddiderfyn trwy dragwyddoldeb di-ddiwedd; y mae yn gofyn am ryw achos sydd yn achos o hono ei hunan, ac a fydd hefyd yn ddigonol i gyfrif am fodolaeth y byd, rhyw achos cyntaf a phennaf a all gyfrif am yr holl ail-achosion; a'r achos hwnnw, meddir, yw Duw. Yr ymresymiad mewn geiriau ereill yw fod natur ddibynnol y byd yn gofyn am rywun neu rywbeth hunan-ddibynnol, i'r byd i ddibynnu arno; fod ei natur greadigol, derfynedig a chyfnewidiol, yn hawlio fod iddo Greawdwr Anfeidrol ac

Hollalluog. O amser Aristotle hyd Kant, ystyriwyd yr ymresymiad hwn yn un prawf diamheuol o fodolaeth Duw.

4. *Gwada Hume wirionedd achosiaeth.*—Ond yr oedd athroniaeth Hume, rhagflaenydd Kant, wedi cynnyg torri o dan seiliau'r prawf achosol, trwy wadu fod i achos unrhyw ystyr mwy na bod un peth neu gyfres o bethau yn dilyn y llall, ac nad oedd un cysylltiad creadigol, cynhyrchiol neu weithredol i'w dybied yn y syniad o berthynas achos ac effaith. Ond fel yr ydys wedi dangos yn barod, cyfyd y syniad o achos o brofiad dyn o weithrediad ei ewyllys ei hunan, ac yn holl gylch profiad nid oes dim y mae dyn yn fwy sicr o hono na'i fod yn gallu gweithredu yn rhydd ac effeithiol neu achosol. Wedi i Moses daro'r Aifftiwr, ni ddaeth i'w feddwl i wneyd amddiffyn, mai ysgwyd ei ddwrn yn yr awyr a wnaeth ef, ac mai marw ar ol hynny, ac nid yn herwydd hynny, a wnaeth yr Aifftiwr; a phe cynhygiasai'r fath amddiffyn, ni chredai neb ef. Nid oes ym mhrofiad dyn ddim mwy sicr a chyffredinol na'r cysylltiad rhwng achos ac effaith.

5. *Achos mewn Meddwl a Sylwedd.*—Newidiodd Kant dipyn ar ffurf y gwrthwynebiad. Addefai ef fod ystyr wirioneddol i achos, ond mai meddwl dyn sydd yn rhoddi iddo yr ystyr hynny; ac mai i'r byd gweledig yn unig, yn hytrach nag i'r byd sylweddol, y perthyna; ac am hynny nas gellid ymresymu ar hyd

llinellau achosiaeth o'r byd gweledig i'r byd anweledig, o'r cyfanfyd at Dduw. Ond dengys profiad dyn eto fod ei ewyllys ei hunan yn peri cyfnewidiadau a symudiadau yn y byd materol; ac ar yr un egwyddor gellir synied am ewyllys ar raddfa uwch ac eangach yn cynhyrchu effeithiau yn y cyfanfyd materol. Gorffwysa gwrthddadl Kant mewn gwirionedd ar y Ddeuoliaeth a rwyga ei gyfundrefn oll drwyddi;—y dybiaeth fod meddwl dyn a'r byd yn sefyll gyferbyn â'u gilydd mewn gwrthgyferbyniad anghymodlawn, ac nad oes modd pasio ar hyd unrhyw linell o feddwl o'r naill i'r llall ohonynt. Ond os cywir yr ydys wedi dadansoddi profiad dyn, nid yw'r byd ond ochr wrthrychol y meddwl ei hunan. Ni ŵyr neb ddim am fyd, ond yr un y mae ei feddwl yng ngafael âg ef, a deddfau ac egwyddorion meddwl yn cyniweirio drwyddo, yn ei wneyd ac yn ei gynnal yr hyn ydyw. Nid ydys felly yn pasio megis o un byd i fyd arall gwahanol, wrth gysylltu achos hanfodol ysbrydol â'r byd, oblegid ysbrydol yw'r byd yn ei hanfod; ac fel y gwelir fod ysbryd pob dyn yn creu ei fyd ei hunan, naturiol yw casglu fod yr holl fyd sydd felly yn cyfateb i ysbrydoedd unigol, wedi ei greu yn y cychwyn gan ysbryd sydd yn achos cyffredinol yr oll. Gan nad all y byd fodoli ond mewn priodas â phrofiad personol, a chan y gŵyr pob un fod y byd yn bodoli yn anibynnol ar ei brofiad unigol ef ei hunan, rhesymol yw'r casgliad fod rhyw brofiad cyffelyb i eiddo dyn y gall yr hollfyd bob amser

gael ei fodolaeth ynddo a thrwyddo, cyn bod, a lle nad oes, dyn. Yn oblygedig yn y casgliad hwn, y mae'r ffaith a bwysleisiwyd yn barod, fod ewyllys yn rhan hanfodol o bob profiad personol, ac na ŵyr dyn ddim am feddwl heb ewyllys; ac os cyfreithlon yw tybied fod meddwl cyffredinol yn dal y cyfanfyd mewn bodolaeth, rhaid synied am y meddwl hwnnw fel ewyllys neu achos yn gweithredu ar y byd i'w ddwyn i fodolaeth, a'i gynnal mewn bodolaeth.

6. *Byd terfynol neu dragwyddol?*—Ymddengys felly y gellir ymresymu oddiwrth y byd yn ol at ei Grewr, at Achos gwreiddiol a digonol o'i fodolaeth; neu o leiaf, os na ellir, rhaid addef fod y byd yn hollol anesboniadwy ac afresymol, ac fod meddwl dyn wrth geisio ei esbonio, a thybied y gall wneyd hynny, yn cyfeiliorni a thwyllo ei hunan. Ceisir weithiau osgoi'r casgliad hwn trwy ddweyd y gall fod y byd wedi bodoli erioed, fel y dysgir mewn Materoliaeth ac Olldduwiaeth; ond pe caniateid hynny, gofynai'r byd eto am ei esbonio; ac yn wir nid yw Materoliaeth ac Olldduwiaeth ond dau gynnyg i esbonio'r byd, y naill trwy wneyd mater yn achos cyntaf, a'r llall trwy wneyd Duw sydd yn un â'r byd yn achos cyntaf. Cytunir mor belled fod yn rhaid tybied achos cyntaf i'r byd, pa un a fu iddo ddechreu neu beidio, a'r cwestiwn mewn dadl yw, pa fath achos cyntaf sydd ddigonol i esbonio'r byd? Ceisiwyd dangos fod achos cyntaf Materoliaeth ac Olldduwiaeth yn

anigonol, ac os llwyddwyd, yr ydym yn ol eto gyda'r dewis rhwng achos cyntaf ysbrydol ac amheuaeth a ellir cael un esboniad o gwbl; ond ni fynn rheswm orffwys mewn amheuaeth drylwyr o hono ei hunan, tra y mae yn meddu cymaint o wybodaeth sydd yn gwneyd ei gwaith yn holl gylchoedd ymarferol bywyd; llawer mwy cydweddol âg hanfod rheswm a'i brofiad yw gorffwys mewn Achos ysbrydol hunanachosol, a fo'n ddigonol i gyfrif am y cyfanfyd. Ac nid gorffwys ychwaith, oblegid cymer oesoedd dirifedi i ddadlenu holl ddirgelion perthynas Achos ysbrydol a'r byd gwrthrychol; ond y mae'n amlwg yn awr fod achos llai yn anigonol.

7. *Nid yw Achos cyntaf gymhesur â Duw.*—Cyfyd y cwestiwn a ydys wrth brofi neu hawlio Achos cyntaf ysbrydol i'r byd, yn profi fod Duw? Ceir llawer a gydnabyddent yr oll a ddadleuwyd uchod, yn dal fod yr ymresymiad hwn yn syrthio'n fyrr o brofi bodolaeth Duw. Er profi fod Achos cyntaf i'r byd, dywedir nad yw hynny yn profi fod Duw doeth, da a pherffaith. Meidrol ac amherffaith yw'r byd, ac nis gellir casglu oddiwrtho fod ei awdwr yn llawer gwell na mwy nag yntau; nid yw'r afon yn profi fod môr, na chorach yn dangos fod ei dad yn gawr. Nis gellir wrth reolau manwl rhesymeg gael mwy yn y casgliad nag a gynnwys y cynseiliau; ac os profi y mae'r byd fod iddo Achos cyntaf cymhesur âg ef ei hunan neu gyffelyb iddo, yr ydys ymhellach o brofi fod Duw yn hytrach nag yn nes, oblegid yr ydys wedi profi fod Achos cyntaf sydd yn dra

gwahanol i Dduw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist. Ac fel mater o hanes, lle y mae'r prawf hwn a'i fath wedi eu defnyddio ar eu pennau eu hunain i brofi fod Duw, ceir syniad diffygiol am Dduw, fel pe bai yn Fôd meidrol y tu allan i'r cread, ac aneffeithiol yn y cread. Os cychwynir gyda'r byd fel rhywbeth yn bodoli ar wahan i Dduw, nis gellir gorffen ond gyda Duw y tu allan ac ar wahan i'r byd. Nis gellir osgoi'r gwrthwynebiad hwn i'r prawf achosol, os gwneir ef yn brawf anibynnol a digonol ynddo'i hunan.

8. *Ystyr y prawf achosol.*—Y mae ffordd arall i edrych ar y prawf hwn a ddengys ei wir werth, ac i'r amcan hynny, dyledus yw galw i gof ddwy egwyddor, y rhaid iddynt gael sylw ym mhob ymgais lwyddiannus i brofi fod Duw. (*a*) Nid y ffurf gaeth o ymresymu o gynseiliau i gasgliad a elwir y Cyfreswm yw yr unig ffordd gyfreithlon o resymu; ac er mai'r ffordd hon sydd wedi cael y sylw mwyaf mewn Rhesymeg ar hyd yr oesau, nid hi sydd wedi profi yn fwyaf ffrwythlon yn yr ymgyrch am wybodaeth. Dull mwy arferol gwyddoniaeth yw symud o dybiaeth i dybiaeth, nes taro ar yr un fo'n cydweddu oreu â'r ffeithiau gwybyddus. Pan sylwa rhywun craffach na'r cyffredin fod ffeithiau nad esbonia'r dŷb gyffredin mohonynt, ceisia ffurfio tybiaeth arall fwy cyson â'r ffeithiau; a'r dybiaeth a esbonia fwyaf o'r ffeithiau adnabyddus a gyfrifir yn fwyaf gwir. Felly, wrth geisio esbonio'r cyfanfyd, os yw'r dybiaeth fod Duw

a'i creodd yn cyfrif am ei gread, ac am ffeithiau ereill, yn well na'r un arall, daw'r berthynas achosol rhyngddo a'r byd i fewn yn un elfen yn y prawf o'i fodolaeth. Arweinia hyn at yr ail sylw,—(*b*) Fod athroniaeth yn un, a phob darn o honi yn dibynnu ar bob darn arall; a chyda chwestiwn hanfodol, fel bodolaeth Duw, neu Achos cyntaf, nis gellir symud ato ar hyd amryw linellau anibynnol ar eu gilydd, ond yn hytrach mewn un symudiad fo'n cymeryd holl ffeithiau'r cyfanfyd i'r cyfrif. Camgymeriad yw ceisio amryw brawfion anibynnol o fodolaeth Duw, oblegid nis gellir profi bodolaeth heb ddweyd pa fath fôd sydd; na phrofi achosiaeth, heb ymdrin â natur yr achos a'i effaith. Er nad yw'r prawf achosol ynddo'i hunan yn derfynol na digonol, nid yw ychwaith yn ddiffrwyth na diwerth; dengys fod y byd yn gofyn ei esbonio, mai Achos ysbrydol yn unig a'i hesbonia, ac fod cysylltiad achosol rhwng Duw â'r byd yn bosibl. Os oes Duw, y mae yn hawdd cyfrif am fodolaeth y byd, ac hebddo, ymddengys y byd yn anesboniadwy; felly mewn unrhyw brawf o fodolaeth Duw erys ei berthynas achosol â'r byd yn un elfen bwysig yn ei gysylltu â phrofiad a gwybodaeth dyn.

### II.—PRAWF TREFN AC AMCAN.

9. *Cyfaddasder y byd i Amcanion arbennig.*— Fe wyddis rhagor am y byd na'i fod yn ddibynnol, ac yn effaith yn gofyn am achos i gyfrif am dano. Canfyddir drwyddo a throsto

i gyd arwyddion trefn, cyfaddasder, a bwriad, sydd yn awgrymu fod ei Achos gwreiddiol yn feddwl personol, yn gallu bwriadu, trefnu, a chyfaddasu moddion i'w amcanion. Mae'r ffaith fod natur yn cyfateb i syniadau a ffurfiau meddwl dyn, yn dangos fod trefn resymol fel eiddo'r meddwl yn gorwedd yn ei chyfansoddiad hi; ac y mae'r drefn honno y fath fel yr ymddengys fod meddwl wedi bod yn dyfeisio a chyfaddasu moddion i'w dwyn hi oddiamgylch. Pan ddarllenno gŵr cyfarwydd awdl, gwel ynddi ddau beth heblaw barddoniaeth, sef ei bod yn cydffurfio â rheolau sydd yn ei feddwl ef, a bod rhyw feddwl cywrain yn meddu yr un rheolau wedi saernio'r awdl, a gosod ei gwahanol rannau i gyfateb i'w gilydd yn unol â'r rheolau hynny. Felly gwel dyn mewn natur arwyddion fod rhyw feddwl fel yr eiddo yntau wedi ei chymhwyso yn unol âg egwyddorion rhesymol ei feddwl ei hunan. Mae'r llygaid at y goleu a'r goleu i'r llygaid; deil blodau fêl i ddenu'r wenynen atynt, a hithau wedi ei gwneyd i gario hâd o flodeuyn i flodeuyn fel yr amlhaont. Y mae cyfrolau, hen a diweddar, wedi eu hysgrifennu, i ddangos cywreinrwydd a manylwch y drefn a'r cyfaddasder sydd yn rhedeg trwy natur oll; a datguddia pob darganfyddiad newydd o eiddo gwyddoniaeth ryw gywreinrwydd newydd yn nhrefn natur; ac oddiwrth y ffeithiau hyn, y mae dynion wedi tynu'r casgliad fod Awdwr natur yn feddwl, neu yn

meddu meddwl, doeth a da, ac mai Duw yw Efe. Hwn o bosibl yw'r prawf hynaf a mwyaf cyffredinol o fodolaeth Duw; ceir ef gan Socrates ac yn yr Hen Destament, a chaniatai hyd y nod David Hume fod peth grym ynddo. Anaml yr awgryma'r Ysgrythyrau un math o brawf o fodolaeth Duw, ond dywed y Salmydd,

"Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw,
A'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw Ef;"

ac ymresyma Paul "fod pethau anweledig Duw, ei dragwyddol allu Ef a'i dduwdod, i'w gweld yn amlwg yn y pethau a wnaed;" a cheir y syniad mewn ffurf ddiweddarach a mwy ffurfiol, ac feallai llai cymwys, mewn emyn Gymreig :—

"Rhagluniaeth fawr y nef, mor rhyfedd yw
Esboniad helaeth hon o arfaeth Duw:
Mae'n gwylio llwch y llawr, yn trefnu llu y nef,
Cyflawna'r cwbl oll o'i gynghor Ef."

10. *Damwain a datblygiad.*—Nid yw y prawf hwn ychwaith heb ei feirniaid o safbwyntiau credinwyr ac anghredinwyr. Dadleuid gan yr olaf gynt nad oedd le i gredu fod un math o fwriad y tu ol i drefn y bydysawd, ond mai damwain yn unig oedd yr oll, fod defnyddiau meirw wrth ymdroi ac ymdaflu am amser maith digyfrif wedi digwydd taro ynghyd o'r diwedd yn ffurf byd trefnus; fel pe bai cysodydd wrth droi a throsi llythrennau am lawer o flynyddau wedi digwydd rywdro eu taflu at eu gilydd yn y modd i gynyrchu cywydd "Y Farn Fawr" neu rywbeth cyffelyb; neu fel y daeth

llo aur Aaron allan o'r tân, ac yntau heb wneyd dim ond taflu tlysau aur i fewn. Mor wrthun yw'r syniad, fel y mae ei fynegi yn ddigon i'w gondemnio. Ond dadleua ysgrifenwyr diweddar fel Herbert Spencer fod y gwrthuni yn diflannu ond rhoddi digon o amser i ddamwain i wneyd ei gwaith. Tybir fod y syniad o Ddatblygiad trwy estyn a desgrifio tyfiant trefn y byd trwy oesau dirif yn cyfrif am dano, ond camgymeriad hollol yw hynny. Nid yw dangos y *modd* y daeth pethau i fod fel y maent o gwbl yn dangos y paham. Gall fod yn wir mai'r ymdrech i fyw, a thuedd y cryfaf i orfyw'r gwanaf, yw'r elfennau pwysicaf yn y *modd* y daeth pethau i'w trefn bresennol, ond yn yr elfennau hyn eu hunain y mae elfen o feddwl a bwriad yn oblygedig; ac hyd y nod pe na buasai, gofynai'r datblygiad a'r drefn resymol a sylweddolir ynddo am feddwl i gyfrif am danynt. Ymddengys yn wir y dysga gwyddonwyr yn gyffredin o Darwin i lawr fod bwriad yn bresennol fel elfen yn holl ddatblygiad natur fywydol o'r llysiau i fyny. Y mae yn sicr o leiaf fod meddwl dyn yn rhan o'r cread; a gwers profiad yw nas gŵyr dyn am feddwl yn gallu gweithredu nac olion meddwl yn ymddangos yn unlle, ond trwy fwriad meddwl yn cyflawni ei amcan. Ac nid yw arafwch y datblygiad yn symud yr angen am feddwl i gyfrif am dano. Ofnai rhai unwaith fod rhoddi heibio yr hen chwedlonau am greadigaeth sydyn mewn un dydd neu ychydig o ddyddiau yn gwneyd i ffwrdd â

Duw o'r cread, ond nid oedd un sail i'r ofn. Daw gwaith meddwl i'r golwg yn fwy eglur mewn darlun a baentiwyd yn raddol nag mewn un a dynwyd yn sydyn gan beiriant; ac nid arwyddai un gallu na doethineb aruchel yn y Crewr, i ruthro trwy ei waith mewn diwrnod, a gorffwys ar wahan iddo byth wedi hynny,— "Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn."

11. *Terfynau a gwerth prawf amcan.*—Cyfyd amryw wrthwynebiadau i'r prawf hwn, cyffelyb i'r rhai a nodwyd ynglŷn â'r prawf achosol, a rhai ychwanegol. Yn ei hen ffurf tybid am Dduw fel crefftwr yn gwneyd byd y tu allan iddo'i hunan, ac yna yn ei yrru i redeg ei gwrs oreu y gallai yn yr eangderau heb ddim a wnelai ei Awdwr âg ef, oddieithr ambell i ymyriad gwyrthiol yn awr ac yn y man. Golygai hynny mai Bôd meidrol y tu allan i'w fyd oedd Duw, a'i allu yn brin, gan fod yn rhaid iddo dorri i fewn dros drefn ei fyd i'w gyweirio. Ond nid yw'r ffurf hon yn hanfodol i brawf amcan; nid oes raid meddwl am Dduw y tu allan i'r byd; gellir synied am dano oddifewn iddo, a'i feddwl a'i fwriadau yn drefn y byd, ac yn sylweddoli eu hunain yn ei ddatblygiad yn ol ei amcan Ef, a'r byd felly megis ymgnawdoliad meddyliau Duw. Dadleuai rhai fod dyfeisio a threfnu moddion i amcanion, o angenrheidrwydd yn tybied gwendid a therfyn yn Nuw, ac yn syniadau anheilwng o hono; ond y ffurf uwchaf ar fodolaeth a edwyn dyn yw meddwl yn sylweddoli amcanion o'i

fwriad ei hunan, heb atalfa na therfyn oddi allan iddo. Diau y rhaid i Dduw weithio o dan delerau, ac nid oes dim anheilwng yn y syniad ei fod yn sylweddoli ei amcanion ei hunan o dan yr unig delerau posibl. Gwrthwynebiad arall a godir i'r prawf hwn yw nas gellir profi oddiwrth fyd meidrol ac amherffaith fod ei Awdwr yn anfeidrol ddoeth a da; y mae'r sylwadau a wnaed ar y pwnc hwn ynglŷn â'r prawf achosol yr un mor gymwys yn y fan hon. Pa werth bynnag sydd yn y prawf hwn, daw i'r golwg, nid fel casgliad oddiwrth y byd mai Duw doeth a da yw ei achos, ond yn hytrach fel elfen mewn cyfundrefn athronyddol yn esbonio'r byd ar sail bodolaeth Duw. Y mae'r arwyddion o feddwl a geir yn y byd, yn gofyn eu hesbonio, a'r esboniad mwyaf boddhaol arnynt yw fod Duw da wedi creu y byd, ac os nad oes Duw, y mae y ffeithiau hyn yn anesboniadwy; os oes Duw, y mae ei fodolaeth yn esbonio'r arwyddion o reswm, doethineb a daioni sydd yn y byd. Y mae tystiolaeth y prawf hwn mor belled ag yr aiff yn cynghaneddu â'r syniad fod Duw yn Achos y byd, a diau hefyd y teifl oleuni ar natur Duw fel Achos y byd.

12. *Anhrefn a drwg.*—Erys eto un anhawsder arbennig ynglŷn â'r prawf hwn, y rhaid ei gydnabod. Y mae yn y byd nid yn unig arwyddion o drefn a bwriadau daionus, ond hefyd o anhrefn a bwriadau drwg. Diau fod pob peth yn y byd yn digwydd wrth ryw

fath o drefn a elwir yn ddeddfau natur; ac feallai ei bod yn gymharol hawdd dal fod rhywfath o feddwl y tu ol i bob peth a ddigwydd, ond y mae o bwys hefyd i wybod pa fath feddwl? Ai meddwl doeth, caredig, daionus, meddwl Duw, neu feddwl cywrain, dichellgar, a chreulawn, meddwl cythraul? Y mae meddwl am greulondeb natur, y pla difaol, galanas ystorm ar y môr, trychineb daeargryn a lynco dref, wedi peri i lawer dyn i ameu a all Duw da fod y tu ol i'r fath anhrefn greulon. Dyma yn ddiau y rhwystr mwyaf oll i ffydd yn Nuw, oblegid daw'r anhawsder hwn gartref mor aml ac mor fyw i brofiadau pawb dynion; ac nid yn unig y trychinebau mawrion sydd yn galw sylw'r byd, ond yn fwy aml ac agos, daw poen ac angeu a thrychineb i bob cartref ac i bob bywyd yn eu tro; ac y mae yn anhawdd olrhain y rhai hyn i ewyllys uniongyrchol Duw, a phara i gredu yn ei ddaioni. Pe buasai raid cymeryd y prawf hwn yn llythrennol a manwl, ac ymresymu yn uniongyrchol oddiwrth y byd at Dduw, anhawdd gweld sut na phrofai fod yn Nuw lawer o greulondeb ac anghyfiawnder. Ond nid gyda'r byd y mae dechreu, eithr yn hytrach gyda Duw; ac wedi ei wneyd Ef yn ganolbwynt athroniaeth, rhaid cysoni â hi oreu y gellir ffeithiau profiad dyn yn y byd. Gadewir felly y cwestiwn hwn i'w drin yn fanylach ar ddiwedd y bennod nesaf, ar ol symud gam arall ymlaen gyda'r syniad sydd gennym am Dduw.

## VIII.

### Y BYD MOESOL.

1. *Trefn a moesoldeb.*—Ceisiwyd dangos yn y bennod flaenorol fod y byd yn gofyn am Achos cyntaf galluog a rhesymol, ond addefir nad yw yr elfennau hynny ar wahan, na chyda'u gilydd, yn cyrraedd at y syniad sydd gennym am Dduw. Heblaw hynny, y mae cysylltu Duw â'r byd fel Achos ac effaith yn codi anhawsder mawr, oblegid fod yn y byd lawer o anhrefn a drwg sydd yn ymddangos yn anghyson a bod ei Awdwr yn ddoeth a da, ac arweinia yr anhawsder hwn at ystyriaeth newydd o berthynas i natur Duw a'r byd, sef eu hystyr foesol. Yn wir, yr oedd yr ystyriaeth hon yn oblygedig o'r dechreu yn yr ymresymiad oddiwrth arwyddion achos, trefn ac amcan yn y byd, a daw felly yn amlycach o hyd mai un prawf o fodolaeth Duw ellir gael, ac fod holl elfennau y prawf yn oblygedig yn eu gilydd. Fel y gwelwyd fod symudiadau ewyllys dyn at nôd arbennig yn dwyn i fewn y syniad o werth y nôd y cyrchai ato; felly eto pan welir fod y byd yn symud at amcan, ac yn sylweddoli pwrpas arbennig, nis gellir osgoi'r cwestiwn am werth yr amcan hwnnw, a gwerth y moddion sydd i'w sylweddoli. Cymharol ddibwys fyddai'r prawf fod meddwl wedi dyfeisio a

chymhwyso'r byd i'w ystâd bresennol, oddieithr fod gan y meddwl hwnnw ryw fwriad i gyrraedd ato, a hwnnw yn fwriad o werth goruchel i ddyn. Pe dangosid i ddyn na welodd oriawr erioed, beirianwaith oriawr, heb wyneb na bysedd, gallai weld cywreinrwydd y peth, a chasglu fod meddwl a dwylaw medrus wedi ei gynhyrchu, ond mai meddwl segur a diystyr ydoedd, yn gwastraffu ei fedr ar deganau plant. A chyffelyb i hynny fyddai'r casgliad oddiwrth drefn y byd, os na ellir gweld fod yn y bwriad y mae'r drefn yn sylweddoli werth arbennig i brofiad dyn. Cyfyd felly gwestiwn deublyg, sef a oes gan ddyn allu a safon i fesur gwerth y bwriad a ymddengys yn nhrefn y byd, ac a yw'r byd oll yn symud yn gyson a chyfan at y bwriad hwnnw? Ar yr atebiad i'r cwestiynau hyn y try y ddau bwnc pwysicaf yn yr holl brawf o fodolaeth Duw, sef a oes dystiolaeth yng nghydwybod dyn fod Duw, a'i fod yn llefaru yn natur foesol dyn, ac a yw cyfansoddiad y byd yn cytuno yn y dystiolaeth honno, neu yn peidio ei gwrthddywedyd?

2. *Cydwybod y da a'r drwg.*—Bernir holl weithrediadau ewyllys dyn, a gwerthfawrogir neu condemnir hwynt yn ol safon y da a'r drwg. Pa un ai edrych i fewn a wneir i brofiad dyn ei hunan, neu allan i fywyd ac hanes cymdeithas, nid oes dim yn fwy eglur na sicr na bod dyn yn gwahaniaethu rhwng da a

drwg, ac yn meddu deddf, egwyddor, neu safon y barna efe wrthynt bob syniad a bwriad a gweithred o eiddo dyn. Cydwybod yw yr enw cyffredin ar y gallu hwn, neu yr agwedd hon ar fywyd mewnol dyn; ystyrrir hi weithiau fel rhyw gynneddf ar wahan yn gwylio a barnu'r hyn a wna'r gweddill o fywyd dyn, fel y saif y barnwr yn y llys; ond mwy cywir yw ei hystyried fel ffurf ar weithrediad ysbryd cyfan dyn, lle y mae barn, teimlad ac ewyllys, yn cydgwrdd a chydweithio i gymeradwyo a cheisio'r da, a chondemnio a gwrthod y drwg. Ond y mae yn bosibl hefyd i ysbryd dyn, fel tŷ wedi ymrannu yn ei erbyn ei hun, i hoffi a gwneuthur yr hyn y mae cydwybod yn ei gondemnio a'i wrthwynebu; "Eithr y peth sydd gâs gennyf, hyn yr ydwyf yn ei wneuthur." Yr ymraniad a'r gwrthgyferbyniad hwn o fewn dyn, sydd yn gyntaf oll wedi peri edrych y tu allan iddo am wraidd ac achos cydwybod; oblegid pan fydd dyn yn ymroddi i ddrygioni, ac yn ymbleseru ynddo, a'i flysiau a'i nwydau a'i feddyliau oll wedi eu llwyr lygru, saif cydwybod ar wahan yn condemnio a gwrthwynebu, ac hawlia awdurdod hollol arbenigol dros fywyd dyn; ni fynn hi ymresymu nac ymddadlu ond gorchymyn yn bendant. Y mae gan ddelfrydau'r gwir a'r hardd eu gofynion a'u hawliau dros fywyd dyn, ond nid arferant hwy awdurdod mor bendant â chydwybod; ni theimla neb fod yr un rhwymau arno i

feddwl fel Aristotle, neu i adeiladu ei dŷ fel Ruskin, âg sydd arno i ymarweddu fel y goreu y gŵyr am dano; ac ni theimla neb yr un cywilydd ac euogrwydd am fethu deall Hegel, neu am ganu allan o gywair, âg a deimla am ladrata tair ceiniog. Nid oes feistr caletach na theyrn mwy unbenigol yn yr holl fyd na chydwybod, ac estyna ei theyrnas nid yn unig dros yr hyn a fu ac y sydd, ond hefyd dros yr hyn sydd i fod, neu a ddylai fod; "dylai" yw prif air ei rheolaeth, ac yn ei rym ef y cais hi feddu'r dyfodol oll. Hawlia awdurdod dros bob bôd moesol ym mhob man; lle byddo dyn ceir cydwybod; gall wahaniaethu yn manylion ei safonau a'i gofynion, ond perthyna i ymwybyddiaeth dyn ym mbob man y nodweddion cyffredinol y gwna wahaniaeth rhwng da a drwg, ac y gofynir ganddo'r da tra y gwaherddir y drwg. Yr Esgob Butler ddywedodd am gydwybod,—"Pe y meddai nerth fel y mae ganddi hawl, a gallu fel y mae yn amlwg fod ganddi awdurdod, llywodraethai'n hollol y cyfanfyd."

3. *Moesoldeb o Dduw.*—Tystiolaeth unfarn crefyddau'r byd yw mai llais Duw ym mynwes dyn yw cydwybod; amrywiant yn eu dysgeidiaeth am ei chynnwys, ond cytunant am ei hawdurdod a'i ffynhonnell. Ceir amrywiaeth lawer yn nysgeidiaeth foesol gwahanol grefyddau, ond cysylltir rhyw ofynion moesol â phob crefydd, a chyhoeddir hwy fel gorch-

mynion ac ewyllys Duw. Dywed Paul fod "y Cenhedloedd, y rhai nid yw y ddeddf (Foesenaidd) ganddynt, wrth naturiaeth yn gwneuthur y pethau sydd yn y ddeddf," ac "yn dangos gweithred y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonau, a'u cydwybod yn cyd-dystiolaethu;" hynny yw, y mae deddf Duw a gyhoeddwyd i'r Hebreaid yn uniongyrchol, wedi ei phlannu ganddo hefyd yn natur a chydwybod yr holl genhedloedd, ac felly y mae cydwybod ym mhob man yn fynegiad o ewyllys Duw.

4. *Gwahanol agweddau'r prawf moesol.*—(*a*) Credai Kant ac ereill fod awdurdod, anibyniaeth a chyffredinolrwydd cydwybod yn ffeithiau mor eglur ac arbennig, fel y profant y tu hwnt i bob amheuaeth fod Duw; a daliai Kant nad oedd brawf arall yn eisieu nac yn bosibl. Fel hyn yr ymresymai efe. Y mae awdurdod cydwybod mor bendant fel nas gall neb ei wadu na'i wrthod, ond cyn y gall dyn ufuddhau iddi, rhaid iddo fod yn rhydd, ac yn byw mewn cyfanfyd lle yr arweinia ufudd-dod i ddedwyddwch; rhaid iddo fod mewn amgylchoedd lle y mae ufudd-dod yn bosibl a dymunol, ac nis gall neb gynhyrchu'r fath amgylchoedd na chreu y fath fyd ond Duw; y mae rheswm ymarferol neu natur foesol dyn gan hynny yn gofyn neu yn hawlio'n ddiymwâd fodolaeth Duw.

(*b*) Neu gellir cysylltu cydwybod â'r prawf achosol, ac ymresymu fod yn rhaid i fyd y mae natur foesol yn ffaith ynddo wrth Fôd Moesol yn achos iddo.

(*c*) Neu eto gellir ei chysylltu â'r prawf o drefn ac amcan yn y byd. Y mae nodau meddwl ar y byd, ond nid oes feddwl nad yw yn gweithredu yn ol amcan neu i bwrpas; ac ym mhrofiad dyn, yr amcan uwchaf oll, amcan sydd yn hawlio awdurdod ddiamheuol dros bob amcan arall, ac yn dwyn prawf ei awdurdod ynddo ei hunan, yw yr amcan i sylweddoli'r da mewn cymeriad. Meddwl dyn a'i fwriadau moesol yn wir yw'r peth pennaf ac uwchaf yn y byd, a gellir casglu felly mai'r da a geisia yw'r elfen bennaf yn y pwrpas a sylweddolir yn y byd, ac yn y meddwl a'i pwrpasodd, ac felly fod Awdwr y byd yn Fôd Moesol.

(*d*) Er osgoi Deistiaeth a pheidio awgrymu fod Awdwr y byd y tu allan iddo, gwell yw dweyd, os yw'r meddwl sydd yn sylweddoli ei hunan yn nhrefn a phwrpas y byd i'w esbonio wrth ei ddatguddiad uwchaf ac egluraf, yng nghydwybod dyn, ei bod yn dilyn mai meddwl a phwrpas moesol a da ydyw. A chan fod awdurdod cydwybod yn ffaith fyw bresennol a pharhaus yn y byd, y mae yn hawddach sylweddoli fod ei ffynhonnell a'i hawdurdod o fewn y byd, ac yn sylweddoli ei hunan ynddo.

(*e*) Nid yw natur foesol ynddi ei hunan yn profi, fel y tybiai Kant, mai ei Hawdwr hi yw Achos y byd a'i drefn, ond os gosodir casgliadau y tri phrawf ynghyd, y prawfion achosol, amcaniaethol a moesol, gellir dweyd na fydd un esboniad o'r byd yn ddigonol, ond a'i deillia o Achos yn meddu gallu, doethineb a daioni, ac sydd gan hynny yn ddigonol i gyfrif am ei drefn a'i bwrpas moesol. Ond cyn cyfrif y casgliad hwn yn ddiogel, rhaid ystyried gwrthddadleuon a godir yn erbyn y prawf moesol.

5. *Seiliau a datblygiad moesoldeb.*—Dywedir nad yw gwreiddiolder ac awdurdod cydwybod ond hud a lledrith, nad yw moesoldeb ond cynnyrch naturiol teimladau dyn mewn perthynas â'i amgylchoedd, ac nad yw yn dilyn fod moesoldeb yn ffaith mewn natur, nac yng nglŷn âg Achos natur. Arferid dywedyd nad oedd da a drwg ond pleser a phoen, ac mai ystyr gwaith cydwybod yn cymeradwyo un math o ymarweddiad a chondemnio y llall oedd yn unig fod dyn yn barnu yr arweiniai y naill i bleser a'r llall i boen. Unig ystyr dyledswydd gan hynny oedd fod dyn yn teimlo yn dueddol i geisio'r swm fwyaf o fwynhad, naill ai iddo ei hunan, neu i'r nifer fwyaf o bobl, neu o leiaf y dylai deimlo felly. Dywedir hefyd fod y dybiaeth hon yn ennill wrth ychwanegu ati ddamcaniaeth Datblygiad. Ceir amser felly i'r arbenigrwydd a berthyn i awdurdod cydwybod a'r syniad o

ddyledswydd, i dyfu allan o ymgais dyn i gael pleser ac i osgoi poen; oblegid teimlir bellach fod eisieu amser neu rywbeth i gyfrif am y gwahaniaeth amlwg i brofiad uniongyrchol dyn, sydd rhwng dioddef poen a gwneyd drwg, neu fwynhau pleser a gwneyd da; nid ar unwaith y tybiai neb mai yr un peth yw tynnu dant a dweyd celwydd, neu fwyta ciniaw da a charu gelyn. I osgoi'r gwrthwynebiad amlwg hwn, dywedir fod dyn yn ystod cyfnodau maith datblygiad wedi cael achos i gysylltu poen a dweyd celwydd, a phleser a charu gelyn, ac felly ei fod wedi barnu y naill yn drosedd a'r llall yn rhinwedd; ac i ategu'r dybiaeth, dangosir fel y mae syniadau pobl am yr hyn sydd dda a drwg wedi amrywio mewn gwahanol gyfnodau, ac yn amrywio eto mewn gwahanol fannau. Ond peth nas gellir byth ei ddangos yw, fod ffeithiau mor arbenigol â'r gwahaniaeth rhwng da a drwg, awdurdod cydwybod i gymeradwyo neu gondemnio, a'r dedwyddwch neu'r euogrwydd sydd yn cydfynd â hi, i'w deilliaw o bethau mor syml ac mor wahanol iddynt ag yw pleser a phoen. Fel y dywedwyd o'r blaen, nid yw effaith yn gofyn llai am achos digonol i gyfrif am dano, wrth ei estyn ar hyd cyfnodau maith, na phe cyflawnid ef ar amrantiad llygad. Yr un uchder yw yr esgynfa o Fangor i ben yr Wyddfa heibio y Rhyd-ddu a thros y llwybr serthach o Lanberis; ac nid yw meithder y ffordd na graddolder yr esgyniad yn gwneyd yr Wyddfa

un fodfedd yn is. Ac nid yw datblygiad mewn un cylch yn gwneyd i ffwrdd â'r angen am achos digonol i bob effaith ; i'r gwrthwyneb, gofyna datblygiad ei hunan gyfrif am dano ; oni buasai fod posibilrwydd datblygiad yn gorwedd yn natur dyn nis datblygai byth i fod yn foesol. Ac er yr amrywiaeth yn syniadau moesol dynion, erys yn gyson trwy eu holl hanes ddwy ffaith hanfodol cydwybod, sef fod gwahaniaeth rhwng da a drwg, a bod dyled ar ddyn i wneyd y da, ac osgoi'r drwg. Diau fod tyfiant graddol moesoldeb a'i amrywiaeth yn golygu fod ei Awdwr o dan angenrhaid i'w gynhyrchu yn raddol ac o dan delerau amrywiol hanes dyn; ond erys moesoldeb yn llawn cymaint o ffaith, a phrawf fod ei Awdwr yn foesol, mor foesol â'r goreu a ddatguddiodd cymeriad a chydwybod dyn ; ac fod ei fwriad moesol yn estyn ymlaen at berffeithrwydd cyflawnach nag sydd eto wedi ei sylweddoli.

6. *Dyrysbwnc drwg a phechod.*—Er y gellir derbyn felly yn ddiogel dystiolaeth natur foesol dyn fod ei Hawdwr hi yn Fôd moesol, nid yw mor hawdd dangos fod Awdwr y byd hefyd yn Fôd moesol, neu o leiaf ei fod yn berffaith dda. Sylwyd yn y bennod flaenorol nad yw trefn y byd yn berffaith, ac fod hynny yn codi amheuaeth am ddoethineb ei Awdwr, ond y mae gwaeth i'w ddywedyd. Nid yn unig y mae y byd yn llawn o bethau didrefn ac

anghyfaddas, ond y mae ynddo ddrwg moesol, creulondeb, anghyfiawnder, a phob aflendid a gwrthryfel yn erbyn y da, a chrea hyn oll amheuaeth am ddaioni'r Creawdwr. Ymrwystra ffydd gyda'r ffaith hon ym mhob oes a gwlad; braidd na lithrodd y Salmydd pan welodd lwyddiant y rhai anuwiol, a gorffwysai yr un amheuaeth yn drom ar ysbrydoedd awdwyr Llyfr Job ac Ecclesiastes; a chadwasant eu ffydd yn unig wrth edrych ymlaen at gyfnod o atdaliad naill ai yn y byd hwn neu'r byd a ddaw. Ond mewn gwirionedd, nis gall uffern yr anuwiol na nefoedd y duwiol gyfiawnhau, a llai byth ddileu, y cam a wneir yn y byd hwn; os cerydda tad ei blentyn ar gam, ni ddileir y cam â gwobr, nac ychwaith wrth ladd ei frawd oedd yn haeddu'r cerydd. Felly gellir gadael byd arall allan o'r cyfrif, oblegid os Duw da a wnaeth y byd hwn, rhaid i'w ddaioni ymddangos yn y byd hwn. Neu os dywedir nad yw daioni yn Nuw o'r un natur a daioni dyn, symudir seiliau'r prawf moesol, gwneir hi'n amhosibl i wybod dim am ddaioni Duw, a thry tystiolaeth cydwybod yn ddamweiniol, dirym, a disylwedd.

7. *Deongliadau diffygiol o'r drwg.*—Y ffordd hynaf i geisio cwrdd yr anhawsder hwn oedd eiddo'r Gnosticiaid; dywedent hwy mai nid y Duw da a ddatguddir yng Nghrist, ac yng nghydwybod dyn a wnaeth y byd, ond duw arall drwg, gelyn a gwrthwynebydd y Duw da.

Deilliasant y dybiaeth hon feallai o grefydd Zoroaster yn Persia; ac arhosodd y syniad yn hir, mewn ffurf ychydig yn wahanol yn nuwinyddiaeth yr eglwys, yn athrawiaeth y diafol. Un rheswm y rhoddwyd lle mor amlwg i ddiafol yn nysgeidiaeth yr eglwys, ac y priodolid iddo gymaint o awdurdod yn y byd oedd, fod ar ffydd eisieu rhywun i'w ddal yn gyfrifol am y drwg, a chyfiawnhau Duw. Ond nis gellir galw yn Dduw un nad yw yn Arglwydd uwchlaw pawb yn ei fyd ei hunan, ac nas gall drechu ei elynion; gofyna ffydd fod ei gwrthrych hi, a rheswm fod ei delfryd hithau, yn teyrnasu yn y byd lle y rhaid iddynt fyw, a mynn y ffydd Gristionogol fod ei gwrthrych hi yn "ben pob tywysogaeth ac awdurdod," fod "pob peth yn cydsefyll ynddo," a "phob cyflawnder yn trigo ynddo." Os oes Duw, y mae Efe yn gyfrifol am yr holl gread, nefoedd, daear ac uffern, a'u holl gynnwys.

8. *Gwirfodolaeth y drwg.*—Ffordd arall i ddod dros yr anhawsder hwn a gynhygir gan rai yn bresennol yw gwadu fod drwg yn bodoli fel ffaith sylweddol, ac nad yw yn ddim ond ymddangosiad, neu ddiffyg, neu wagle; a'r gwrthwynebiad mwyaf ellir godi yn ol y syniad hwn yw fod Duw wedi caniatau, neu yn hytrach nas gallai beidio caniatau, ochr negyddol i fodolaeth; a'i waith parhaus yn y cread yw gorchfygu teyrnas y Diddym, neu'r Negyddiaeth sydd yn ymddangos i ni yn ddrwg. Gellir felly ddweyd am bob peth a wnaeth Duw mai

da iawn ydyw, a'r unig ddiffyg sydd, nas gallasai orffen pob peth, a llanw pob gwagle ar unwaith. Gwnai'r dybiaeth hon wasanaeth mawr oni buasai ei bod yn taro yn erbyn llu o ffeithiau anwadadwy bywyd, a phe derbynid hi, y gwnai holl brofiad dyn yn ffug a chysgod disylwedd; oblegid y mae poen yn ffaith mor ddilys a sylweddol a phleser, a byddai yr un mor hawdded gwadu fod rhinwedd a daioni, a gwadu fod pechod ac euogrwydd. Dywedwyd uchod mai yn ei ewyllys y caiff dyn yr afael sicraf ar sylwedd, a gŵyr pawb mai gweithred yr ewyllys yw drwg moesol. Rhaid wynebu yr holl ffeithiau a sefydlu ffydd arnynt; ac nid gwiw ceisio eu hosgoi, oblegid dial mwy a ddaw o hynny, gan fod gwadu y drwg, fel y gwelwyd, yn arwain hefyd i wadu'r da.

9. *Telerau bodolaeth.*—Erys y cwestiwn a all Duw da fod yn awdwr byd lle y mae drwg. Ceisir weithiau ysgafnhau baich y broblem trwy osod tipyn o'r cyfrifoldeb am y drwg ar ddyn fel bôd rhydd a chyfrifol; a diau fod dyn yn achosi llawer o ddrwg, nid yn unig ei bechod ei hunan, ond ei ganlyniadau poenus iddo ei hunan ac i ereill; ac y mae yn gyfrifol am y drwg a wna. Achosa'r meddwyn ddioddefaint i'w wraig a'i blant, ac y mae yn gyfrifol am hynny, a'r gormeswr boen i'r tlawd a'r gwan, ac y mae yn gyfrifol am hynny. Ond os Duw a'u creodd, y mae yntau hefyd yn gyfrifol am danynt hwy a'u rhyddid ewyllys, am eu drygau a'u

canlyniadau. Pa fodd ynte y gellir cyfiawnhau Duw yng ngwyneb ffeithiau fel hyn, a pha ateb a rydd ei ddiffynwyr i blant y meddwyn? Y prif bwyntiau mewn unrhyw atebiad a ellir ei roddi yw (*a*) fod Duw wedi gwneyd ei oreu, ac (*b*) fod y goreu hwnnw yn well na phe buasai heb greu. Addefa'r fath atebiad fod terfynau i allu Duw, ac er fod hynny yn groes i'r syniad cyffredin am hollalluogrwydd Duw, y mae yn hollol gydweddol â rheswm a phrofiad dyn. Ni thybiai neb y gallasai Duw wneyd dau a dau yn bump, neu wneyd lladrad yn rhinwedd; ac y mae yr un mor amhosibl iddo gynhyrchu cymeriad moesol neu greu byd moesol, heb ryddid ewyllys, a phosibilrwydd pechod, a chyfnod o brawf a datblygiad graddol o dda is i dda uwch; ac yn yr amhosibilrwydd hyn y mae drwg a phechod a phoen yn oblygedig. Ond moddion ydynt, neu nodweddion anocheladwy moddion, ar y ffordd i gyrraedd amcan cwbl ddaionus; o dan y ffurfymadrodd hwn diau y gellir cynnwys yr holl ddrwg sydd yn bod, sef mai moddion yw i bwrpas hollol ddaionus y mae Duw wedi ei fwriadu ac yn ei sylweddoli yn y byd. Ac nid yw yn bosibl diogelu daioni Duw, heb gyfyngu i'r graddau hyn ar ei allu; oblegid pe gallasai Duw bob peth a ellir ei ddychmygu, pe gallasai greu byd moesol a sylweddoli ei amcan goreu, heb boen na phechod, buasai yn greulondeb a phechod y tu hwnt i bob desgrifiad iddo, hyd y nod i ganiatau yr holl ddrwg sydd ar y ddaear.

Ond os dewisodd Duw y ffordd oreu oedd yn bosibl i greu byd, neu ym mrawddeg Leibnitz, os yw'r byd "y goreu o'r holl fydoedd dichonadwy," cymer pob moddion diffygiol eu lle yng nghyfundrefn y bwriadau daionus sydd yn llywodraethu'r oll. Ac er caniatau fod yn rhaid i Dduw weithio wrth ryw delerau ac o fewn rhyw derfynau, erys ei Hollalluogrwydd yn yr ystyr ei fod yn meddu pob gallu y sydd, a'i Anfeidroldeb yn yr ystyr nad oes neb na dim y tu allan i'w natur a'i ewyllys ei Hunan yn cyfyngu arno.

10. *Goruchafiaeth daioni.*—Os cyfrifir y drwg fel damwain anocheladwy yn nhelerau bodolaeth, neu nodwedd anhebgor yn y moddion i gyrraedd amcan daionus yn y cread, daw daioni Duw yn amlycach, a gwelir ei fod o nodwedd cariad ac hunanaberth, yn y ffaith ei fod yn goddef pethau mor groes i'w ewyllys a phoen a phechod, er rhoddi i ddyn fodolaeth mewn teyrnas foesol. Ar yr un llinellau athronyddol y gellir cyfrif am ei hunanaberth a'i hunangyfyngiad mewn ymgnawdoliad. Y mae yr un egwyddorion yn oblygedig yn y cread a'r ymgnawdoliad, a'r un anhawsderau i'w deall. Yn y naill a'r llall cyfynga Duw arno'i hunan er mwyn dyn. Un dewis arall, yn lle creu'r byd goreu oedd ddichonadwy, er ei ddiffygion, allasai fod yn agored i Dduw, sef peidio creu o gwbl. Oblegid nis gallasai fod Duw o dan angenrhaid i greu byd drwg.

Gwnai hynny Ef yn gaeth i ryw allu drwg y tu allan iddo'i Hunan, ac felly yn llai na Duw. Ac nis gallasai greu byd drwg o fwriad; gwnai hynny Ef yn waeth na Duw; ac hefyd y mae gormod o ddaioni yn y byd i ganiatau'r dybiaeth fod ei Awdwr yn amcanu at wneyd drwg. Ymgyrch ofer fyddai ceisio penderfynu oddiwrth y byd ei hunan a yw'r da yn gorbwyso'r drwg ynddo, oblegid nis gall neb dyn gasglu ynghyd yr holl dda a'r holl ddrwg yn y byd mewn un foment, a'u cymharu â'u gilydd, a llai fyth y da a'r drwg a fu ac a fydd. Nid yw'r byd eto wedi ei orffen; ond os cywir yw damcaniaeth datblygiad, gellir disgwyl y bydd da'r dyfodol yn llawer mwy na da'r gorffennol, ac y bydd iddo yn raddol ennill ar y drwg a chyfyngu arno i dragwyddoldeb. Ond nis gellir wrth ystyried y byd mor bell ag yr adnebydd dyn ef, brofi fod y da ynddo yn gorbwyso'r drwg; ac felly gwelir unwaith eto nas gellir ymresymu oddiwrth fyd amherffaith at Dduw perffaith. Ond y mae'r daioni sydd yn y byd, a'r bwriad daionus a'r delfryd perffaith a ddatguddir yn natur foesol dyn, ac a sylweddolir yn raddol yn hanes dynoliaeth, a datblygiad y cread, yn gofyn eu hesbonio; a'r unig esboniad digonol arnynt yw fod Duw holldda yng ngrym ei gariad wedi ymostwng i delerau creadigaeth, ac i ddioddef y drwg oedd yn oblygedig ynddynt, er mwyn i ddyn i gael bôd a bywyd mewn natur foesol ar lun a delw Duw ei Hunan.

## IX.

### DUW MEWN DELFRYDIAETH.

1. *Y drychfeddwl yn cyfleu bodolaeth.*—Ymddengys mai syrthio'n fyrr a wna pob ymgais i brofi bodolaeth Duw oddiwrth y byd; gwyrdroi trefn rheswm ydyw; gwna'r mwyaf yn ddibynnol ar y lleiaf, y gwreiddiol ar y deilliadol, y tragywyddol a'r anghyfnewidiol ar yr amserol a'r cyfnewidiol; y mae yr hoel yn rhy wan i ddal y pwysau. Rhyw feddwl fel hyn barodd i Anselm, duwinydd mwyaf yr unfed ganrif ar ddeg, i chwilio am brawf o fodolaeth Duw fyddai'n anibynnol ar y byd, a dyfeisio prawf a godai yn uniongyrchol o'r syniad am Dduw yn unig,—y prawf Bodyddol neu ddelfrydol. Ceir gwreiddiau ymresymiad Anselm yn athroniaeth Plato, tad pob delfrydiaeth. Dysgai ef mai syniadau neu ddelfrydau yw'r pethau sydd mewn gwirionedd yn bodoli, yn hytrach na'r ymddangosiadau a genfydd dyn trwy ei synhwyrau; a pho fwyaf perffaith y syniad, mwyaf oll o sylwedd a berthyn iddo, hyd nes y deuir o'r diwedd at y syniad uwchaf a pherffeithiaf oll, y Da neu Dduw, yr hwn hefyd a symia i fyny ynddo'i hunan bob sylwedd a bodolaeth. Gosod yr athroniaeth hon yn ffurf reolaidd rhesymeg Aristotle a geisia Anselm yn ei brawf

Bodyddol. Y mae gan ddyn y syniad o Dduw fel Bod perffaith, hynny yw fel un mwy na dim arall a ellir ei ddychmygu; felly cynhwysa'r syniad ynddo'i hunan bob nodwedd a pherffeithrwydd y dichon dyn feddwl am danynt, ac ymhlith y nodweddion hynny y mae bodolaeth yn un; oblegid pe cynhwysai'r syniad o Dduw bob nodwedd ond bodolaeth, gellid ffurfio un syniad uwch a gwell, sef un a ychwanegai at y lleill fodolaeth.

2. *Prawfion bodyddol Descartes.*—Gosododd Descartes, tad athroniaeth ddiweddar, yr ymresymiad yn ddwy ran, ac mewn ffurf ychydig yn wahanol.

(*a*) Gŵyr dyn ei fod ef yn feidrol ac amherffaith, ond nis gallasai wybod hynny heb fod ganddo syniad am yr anfeidrol a'r perffaith, yn safon i farnu wrthi; a thrachefn nis gallasai efe, ac yntau yn amherffaith, gynhyrchu dim perffaith, ac felly rhaid fod yn rhywle Fôd perffaith yn achos i'r syniad o berffeithrwydd a fedd dyn. Mae peth tebygrwydd rhwng yr ymresymiad hwn a'r prawfion achosol a ystyriwyd yn barod.

(*b*) Fel y gall dyn, o'r syniad o driongl sydd yn ei feddwl, ddwyn allan nodweddion y ffigiwr honno, megis fod ei thair ongl yn gyfartal i ddwy ongl union a'r cyffelyb, felly gall ddwyn allan o'r syniad o Dduw sydd yn ddiamheuol yn ei feddiant, holl nodweddion Duw ac holl

gynnwys y syniad; a chyda pob perffeithrwydd arall, y mae *bodolaeth* yn oblygedig yn y syniad, oblegid ni byddai'r syniad yn berffaith nac yn syniad o Dduw heb hynny. I bob amcan ymarferol, ymresymiad Anselm drosodd drachefn yw hwn.

3. *Perthynas meddwl a bodolaeth.*—Y feirniadaeth a wneir yn gyffredin ar y prawf hwn yw, fod gwahaniaeth hollol rhwng bodolaeth a'r syniad am fodolaeth, ac mai'r oll a brofir yn y prawf yw, fod y syniad o fodolaeth, fel y syniad o ddaioni, yn perthyn i'r syniad o Dduw; ac os oes Duw, fod bodolaeth, fel daioni, yn perthyn iddo o hono ei hunan; ond nad yw'r syniad o fodolaeth yn profi bodolaeth mewn ffaith, ddim mwy nag y gwnai'r syniad o gan punt yn llogell dyn dalu ei ddyled. Dadleuai Anselm a Descartes yn erbyn hyn, fod y syniad o Dduw yn wahanol i bob syniad arall, ei fod yn syniad angenrheidiol, yr oedd yn rhaid i'r meddwl ei ffurfio a'i feddu, ac nas gallesid meddwl o gwbl hebddo. Ond y mae eto wahaniaeth rhwng angenrheidrwydd mewn cyfundrefn o syniadau, ac angenrheidrwydd mewn ffaith. Os oes triongl, y mae yn rhaid fod ei dair ongl yn gyfartal i ddwy ongl union, ond nid oes un angenrhaid fod triongl o gwbl. Ceisiodd Kant ddangos y gallasai fod y syniad o Dduw yn angenrheidiol i gyfundrefn o syniadau er ei chyfanu a'i chysoni, ac eto beidio bod yn ffaith mewn bodolaeth. Diau fod grym

yng ngwrthddadl Kant yn erbyn y prawf fel y gosodwyd ef allan gan Anselm a Descartes. Dechreuasant hwy gyda'r dybiaeth fod syniadaeth neu wybodaeth ar y naill law, a bodolaeth ar y llaw arall, yn ddau fyd hollol wahanol i'w gilydd, a cheisiasant eu huno o fewn cylch gwybodaeth yn unig; tynasant y casgliad eu bod yn un, o'r cynseiliau gwrthgyferbyniol eu bod yn ddau gylch hollol wahanol, yn groes i bob rheol rhesymeg. Ond nid hyn yw'r diwedd am y prawf bodyddol.

4. *Graddau gwirfodolaeth.*—Cychwynnodd Kant linell o feddwl sydd wedi mynd ymhell i adfer y prawf a ddymchwelodd efe. Dechreuodd ddysgu dynion nas gall meddwl a bodolaeth sefyll ar wahan i'w gilydd; nid oes byd heb feddwl, na meddwl heb fyd, ac y mae'r byd a adwaenom a'n gwybodaeth o hono yn anwahanadwy gysylltiedig a'u gilydd. Y mae i bob syniad ryw fath o gynnwys, rhyw fath o wrthrychedd, ac felly rhyw fath o wirfodolaeth. Os meddylia un am ddraig goch, y mae i'r syniad o leiaf gymaint o sylwedd a'i fod yn bodoli ym meddwl rhywun; gall dyn gydnabod mai perthyn i fyd ffugchwedlau yn unig y mae, ond y mae i hwnnw ryw fath o wirioneddolrwydd. Neu gellir meddwl am y ddraig goch fel baner Cymru, ac arwydd undeb y genedl, a daw'r syniad felly i gylch o wirionedd mwy ac eangach, oblegid cyfetyb i fwy o ffeithiau profiad; pe dywedai neb mai draig las yw

baner Cymru, gellid profi ei fod yn camgymeryd, oblegid fod byd o brofiad i'w gael lle y cydnabyddir y ddraig goch yn faner Cymru. Ac eto nid yw hwn yn wir cyflawn nac yn wir i gyd, oblegid ni saif cenedlaetholdeb y Cymry ar wahan i bawb a phob peth. Pe gosodid y ddraig goch ar un chwarter i faner Prydain, dynodai wirionedd eangach a mwy sylweddol, sef fod y Cymry fel cenedl yn rhan o'r Deyrnas Gyfunol. Yr hyn sydd felly yn rhoddi i bob syniad fwy neu lai o wirioneddolrwydd yw ei fod yn dod i gysylltiad a chysondeb â mwy neu lai o fyd profiad dyn. Gall dyn dybied ei fod yn gweld ysbryd ar y ffordd o'i flaen, ond pan symuda yn nes ato, cenfydd mai adlewyrchiad goleu'r lloer mewn llyn o ddŵr ydyw; ac eto, os ystyria yn fanylach, caiff mai adlewyrchiad goleuni'r haul trwy gyfryngau'r lloer a'r dŵr ydyw; ond nid oes ystyr i oleu haul heb lygad dyn i'w weld, nac i lygad heb ymenydd, nac i ymenydd heb feddwl, nac i feddwl heb feddyliau ereill, ac mewn gair, ni welir ystyr lawn un peth heb ei feddwl mewn cydfod â phob peth ac â'r cyfan. Nis gellir rhannu syniadau i ddau ddosbarth yn unig, rhai yn bod a rhai heb fod; ond eu graddio a ellir fel rhai yn bod fwy neu lai. Y mae pob syniad yn bod i ryw raddau, ond gall syniad a ymddengys yn wir mewn cylch cyfyng brofi yn gau pan ddygir ef i gylch profiad eangach; ac nid ydys wedi sylweddoli gwirionedd a sylwedd cyflawn unrhyw beth heb ei

gydfeddwl mewn cydfod â phob peth, neu fel elfen yn y cyfanfyd. Dyna ystyr dadl Descartes nas gall fod syniad o feidrol heb anfeidrol, nac o'r amherffaith heb y perffaith, oblegid nid ydys wedi gorffen meddwl unrhyw beth, na'i feddwl yn gyflawn hyd nes ei feddwl yn ei berthynas â phob peth, neu yn y cyfanfyd.

5. *Cydfodolaeth y cyfanfyd yn Nuw.*—Y gwirionedd a'r sylwedd cyflawn a pherffaith yw'r cyfanfyd yn cydsefyll mewn meddwl a all ei feddwl oll ar unwaith. Ac y mae ystyr gan hynny i'r ddadl fod ym meddwl dyn angenrhaid am feddwl arall, a grynhoa ynghyd ynddo'i hunan bob peth sydd, oblegid nis gall dyn feddwl pethau o gwbl heb eu meddwl mewn cysylltiad â'u gilydd, ac y mae pob cysylltiad a phob profiad rhannol yn galw am gysylltu pethau â'u gilydd o fewn profiad eangach. O dan yr angenrhaid hon y gyrrir meddwl o safbwynt synwyr cyffredin i safbwynt gwyddoniaeth, ac o safbwynt gwyddoniaeth i safbwynt athroniaeth; ac y mae yr angenrhaid i feddwl o gwbl, angenrhaid rheswm a'r bywyd ysbrydol, yn gofyn am feddwl a ddeil ynddo'i hunan bob gwirionedd a sylwedd, a phob peth yn un cyfanwaith gyda'u gilydd. Ni chyrhaedda dyn ei hunan fyth i safbwynt y cyfanfyd, ond y mae yr ymwybyddiaeth o'r angen a'r diffyg hwn ynddo yn tystio fod meddwl uwch a fedd y fath safbwynt,—meddwl sydd yn egwyddor undeb bob peth, ac yn safon

gwirionedd, daioni, harddwch, a phob sylwedd i bob meddwl, a hwnnw yw Duw. Ond sylwer mai nid syniad neu ddelfryd y mae cyfanrwydd cyfundrefn feddyliol yn gofyn am dano ydyw ; coll hen ffurfiau'r prawf Bodyddol oedd gwneyd Duw yn ddelfryd neu syniad yn sefyll y tu allan i'r byd a chyferbyn âg ef. Nid ydys i dybied am feddwl a ffaith fel pe baent ddwy gyfres gyfochrog yn perthyn i'w gilydd yn unig fel y perthyn gwrthrych i'w ddarlun mewn drych ; y maent yn anwahanadwy ac yn anhebgorol i'w gilydd, fel de ac aswy, neu fynydd a phant. Rhaid i bob meddwl ei wrthrych, ac i bob gwrthrych ei feddwl. Nid oes fodolaeth heb feddwl, na meddwl heb fodolaeth ; nid byd, byd heb wybodaeth, nac ychwaith wybodaeth, gwybodaeth heb fyd. Ond pa le y ceir a pha un yw'r meddwl sydd yn meddwl y cyfanfyd ? Gŵyr pob dyn fod y byd yn bodoli ar wahan iddo ef, ac i bob meddwl dynol arall, ac nis gall y meddwl y bodola'r byd iddo ac ynddo fod yn un meddwl ymhlith meddyliau ereill o fewn y byd, oblegid y mae pob ffaith yn y byd, gan gynnwys y meddyliau, yn dibynnu ar y meddwl cyffredinol, a'r meddwl cyffredinol hwnnw gan hynny yw Duw. Heb Dduw, heb ddim ; Duw a phob peth.

6. *Duw fel gosodiad ac esboniad.*—Os mynn neb ddweyd mai nid prawf sydd gennym ond haeriad, y mae iddo hawl i ddweyd hynny. Un peth ddylai fod yn amlwg bellach yw nas

gellir profi bodolaeth Duw yn ol ffurfiau arferol rhesymeg, ar gynllun y cyfreswm, o gynseiliau i gasgliad, oblegid rhaid i'r cynseiliau fod ym mhob ystyr o leiaf yn gymaint a'r casgliad, a pha gynseiliau ellir gael felly i gasglu Duw oddiwrthynt? Dim llai na Duw ei Hunan. Dyweder haeriad ynte, ond haeru yr ydys y peth sydd yn anwadadwy, sef Bodolaeth yn yr ystyr o undeb y byd meddyliol â'r byd gwrthrychol; yr unig ddewisiad arall yw ameu a oes dim o gwbl. Y mae'r gosodiad fod Bodolaeth mor amlwg a syml nes y mae ei symledd yn wir yn anhawsder i'w amgyffred. Ond yr anhawsder mwyaf yw egluro beth wedi'r cwbl sydd yn bod; nid profi fod Duw, ond datguddio beth ydyw. Ac i'r pwynt hwnnw y mae eisieu bellach casglu ffrwyth yr ymdriniaeth flaenorol; ac o'r safbwynt hwn y gwelir yr elfen o wirionedd yn y prawfion a ystyriwyd yn y ddwy bennod flaenorol. Nid oes fodd nac angen cael amryw brawfion o fodolaeth Duw, ond un athroniaeth y cyfanfyd a eglurha bob agwedd arno ar seiliau bodolaeth Duw. Er nad yw Duw yn dibynnu ar y byd, fel byd meidrol ar wahan, ac nas gall y byd felly brofi ei fodolaeth; eto nid yw Duw yn bodoli ar wahan i'r byd, ac yn, a thrwy, y byd y datguddia ac y mynega ei hunan. Os goddefir camddifynnu cwpled adnabyddus, gellir dweyd,—

> " Os Duw sydd ar gread ei eisieu,
> Mae eisieu y cread ar Dduw."

Dwy ochr i un cyfannedd yw Duw a'r byd, ac y

mae prawf ac esboniad y naill yn y llall ; nis gellir eu meddwl yn iawn ac yn gyflawn ar wahan, ond er mwyn sylweddoli yn fanwl ystyr a gwerth y Cyfanfod, y mae yn gyfreithlon ac angenrheidiol i reswm i'w dadansoddi ;—i feddwl pob darn ar wahan er mwyn meddwl pob darn yn well yn ei berthynas â'r Cyfan.

7. *Dyma wir ystyr a swyddogaeth y prawfion gwahanol.*—Yn y prawf delfrydol erys y meddwl gyda Duw, fel y meddwl cyffredinol sydd yn dal pob gwrthrych ynddo ei hunan, ac yn rhoddi iddynt eu bodolaeth. Yn y prawfion achosol a moesol, dechreua'r meddwl gyda'r byd, a chenfydd ei ymddibyniad ar Dduw, a'i ddatguddiad o hono. Gwel ei fod yn effaith dibynnol nas gall gyfrif am dano ei hunan, ac yn Nuw gwel Achos digonol o hono. Gwel ynddo drefn a bwriad yn estyn allan y tu hwnt i'w derfynau i rywle, ac yn Nuw gwel y bwriad, yn ei ffynhonnell a'i gyflawnder, sydd yn rhannol a graddol sylweddoli ei hunan yn y byd. Gwel ynddo fywyd ac ymgais a delfryd foesol yn ymdrech âg amgylchoedd sydd yn ymddangos yn anghydnaws, ac yn Nuw gwel natur ac ewyllys foesol yn llywio'r byd i amcan daionus. Mae'r byd sydd ynddo'i hunan o bob cyfeiriad yn anesboniadwy, yn dod, os nad yn eglur, o leiaf yn fwy eglur, wrth ei feddwl mewn perthynas â Duw ; a hyn yw yr unig brawf rhesymol a ellir gynnyg o fodolaeth Duw, sef fod yr athroniaeth sydd yn rhagdybied ei

fodolaeth, yn esbonio pob peth yn fwy eglur, cyflawn, a boddhaol nag unrhyw athroniaeth arall.

8. *Byd anesboniadwy heb Dduw.*—Cydnebydd Materolwyr a Naturiolaethwyr fod nifer o ffeithiau mawrion bodolaeth nad oes ganddynt hwy un esboniad i'w gynnyg arnynt, megis natur gallu a mater, dechreu mudiad, dechreu bywyd a threfn ac amcan yn natur, dechreu synwyr a theimlad fel y'u ceir yn ymwybyddiaeth yr anifail, a dechreu ymwybyddiaeth resymol mewn dyn, a'i natur foesol. Nis gall athroniaeth ddi-dduw gynnyg rheswm nag esboniad ar un o'r pethau hyn, ac eto nis gall eu gwadu yn hollol; ond y mae gwrthod cynnyg eu meddwl ynghyd bron yn gyfystyr a'u gwadu; gwada o leiaf fod y byd fel cyfanfyd yn fyd rhesymol, ac felly tyrr o dan seiliau gwirionedd hanfodol; ac yn y pen draw tyrr o dan seiliau gwyddoniaeth yn ogystal ag athroniaeth. Adeiladu ei thŷ ar y tywod y mae gwyddoniaeth sydd yn sylfaenu ei hunan ar Anwybyddiaeth, oblegid os nad yw trefn a rheswm yn perthyn i hanfod pob peth sydd, gall deddfau a chasgliadau rhesymol gwyddoniaeth droi allan yn gamgymeriadau gyda chynnydd gwybodaeth. Ond os beiddia athroniaeth ddweyd "yn y dechreuad, Duw," caiff ei gwobr yng ngweld mater a bywyd, meddwl a chydwybod, yn llifo allan o'i hanfod Ef, ac yn bodoli wrth ei ewyllys. A llawer ffaith arall sydd ddirgel ac anesboniadwy heb Dduw a ddont

yn oleu yn ei oleuni Ef; yn arbennig ceir yr unig esboniad dichonadwy ar brofiad crefyddol personau unigol, ac ar hanes crefyddol yr hil ddynol, pan ganfyddir dyn yn ei berthynas â Duw.

9. *Effeithiolrwydd Duw.*—Cyfeiriwyd yn barod at Bragmadeg, sef yr athroniaeth a ddysga fod pob syniad yn wir mor bell ag y mae yn effeithiol, ac mai yr hyn sydd yn profi gwirionedd unrhyw athrawiaeth yw ei bod yn gweithio yn llwyddiannus; "wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt." Ni fynn yr athroniaeth hon fod gwirionedd cyffredinol ac hanfodol, neu o leiaf y gall dyn eu gwybod, ond y daw pob gwirionedd i'r golwg wedi ei brofi yn effeithiol mewn bywyd ymarferol. Ni raid derbyn y syniad hwn fel yr holl wirionedd, i weld fod ynddo elfen o wirionedd, oblegid gan fod deall ac ewyllys yn un meddwl, yr un yw gwirionedd i'r naill a'r llall. Deil y syniad Cristionogol am Dduw y prawf hwn hefyd, a chadarnheir ef ganddo, oblegid dyma'r syniad sydd wedi bod yn ysbrydiaeth hanes goreu, diwylliant uwchaf a gwareiddiad mwyaf effeithiol y byd; ond pur ddiffygiol fyddai'r prawf hwn ynddo'i hunan, oblegid nas gellir profi felly na chyfyd syniad arall mwy effeithiol maes o law. Fel un egwyddor yn athroniaeth y cyfanfyd ceir effeithiolrwydd y syniad o Dduw yn elfen bwysig, a dadl delfrydiaeth yw fod y syniad o Dduw yn

gweithio ac yn cynghaneddu â phob ffaith a gweithred a delfryd yn y cyfanfyd.

10. *Terfynau pob prawf.* Y mae i'r prawf delfrydol hefyd ei derfynau, oblegid nid yw yn bosibl i un dyn i feddwl pob peth gyda'i gilydd, na "chael yr Hollalluog hyd berffeithrwydd." Yn y diwedd y mae gwahaniaeth rhwng Duw a meddwl goreu dyn am dano. Duw yn unig all feddwl ei feddyliau ei Hun; "nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi, ac nid eich ffyrdd chwi yw fy ffyrdd i." Nis gall dyn feddwl pob ffaith a gwrthrych gyda'u gilydd, ond gall weld fod eisieu gwneyd hynny, a ffurfio syniad cyffredinol am Dduw sydd yn gwneyd hynny. Gall gysylltu ffaith ar ol ffaith â Duw fel yr eanga ei wybodaeth, a gweld goleuni ei fodolaeth Ef yn tywynu yn helaethach dros diriogaeth bodolaeth, fel y gafaela ei feddwl yn ystyr ddyfnach pob peth sydd. Cynyddu mewn eglurder a grym a wna'r prawf gyda phob cynnydd gwybodaeth; ond nis gellir disgwyl byth ei orffen, am nad yw yn bosibl i ddyn i ddod i safbwynt y cyfan, y cyffredinol, i safbwynt Duw, heb golli ei hunaniaeth yn Nuw a pheidio a bod. Tra bo dyn yn ddyn, fe erys elfen o'r anirnadwy iddo yn natur Duw, ac elfen o anhawsder i'w reswm i sylweddoli bodolaeth Duw, ac am hynny bydd lle o hyd i ffydd ym mherthynas dyn â Duw ac â'r cyfanfyd.

## X.

## Y WYBODAETH O DDUW.

1. *Cydnabod terfynau gwybodaeth.*—Feallai y teimlir mai ffordd anfuddiol i geisio seiliau sicrach ffydd yw beirniadu ac awgrymu diffygion ym mhob prawf o fodolaeth Duw a gynhygiwyd erioed, oblegid ceir llyfrau Diffyniaeth Gristionogol yn dra chyffredin yn cynnyg un prawf anffaeledig ar ol y llall, nes y mae'n syn fod anhawsder nac amheuaeth yn aros yn unlle; ond aros a wnant er hynny. Feallai mai da yw eu bod, oblegid gyrrant ni i edrych ffeithiau yn eu hwynebau; a dyna lwybr y gwirionedd hyd y nod pan y mae'r ffeithiau yn edrych yn anymunol. Glynu wrth y gwirionedd noeth wedi'r cwbl yw'r ffordd unionaf a sicraf at Dduw, gan nad pa mor anhebyg y gall weithiau ymddangos. Gwell yw cydnabod ar unwaith nad oes yn bosibl i ddyn syniadau ac athrawiaethau anffaeledig am wrthrychau a ffeithiau'r bywyd ysbrydol. Gellir cael diffyniad a phrawf anffaeledig o gylch a thriongl, ond nid o Dduw na'r cyfanfyd. Diflannai llawer o anhawsderau ffydd pe cydnabyddai pobl nas gellir deffinio a phrofi Duw fel problemau Euclid. Syniad a hawlia rheswm fel telerau meddwl ac esbonio pob peth

yw Duw, ac nid casgliad rhesymegol oddiwrth un peth na phob peth. Ac o ran hynny, y mae yr un peth yn wir am holl syniadau sylfaenol gwybodaeth. Nis gellir ychwaith brofi bodolaeth y byd na dyn ei hunan ; cychwyna pawb gyda'r dybiaeth fod y rhai hyn, a phrawf y dybiaeth yn wir am fod profiad yn cyfateb iddi. Cyffelyb yw egwyddor sylfaenol gwyddoniaeth, sef deddf unffurfiaeth natur. Nis gall gwyddoniaeth symud cam ond ar sail y dŷb fod natur yn bodoli a gweithredu yn unffurf, fod yr un effaith yn sicr bob amser o ddilyn yr un achos, ond nis gellir profi deddf unffurfiaeth ; cymerir hi yn ganiataol, ac hyd yn hyn y mae profiad yn cyfateb iddi, ac yn ei phrofi yn wir cyn belled. Felly am Dduw, y mae yn rhy fawr i'w brofi fel casgliad rhesymegol, a darfod âg Ef. Ond y mae'r prawf a gynhygiwyd uchod mor sicr a rhesymoldeb y byd. Dangoswyd fod ffaith ar ol ffaith ym mhrofiad dyn yn anesboniadwy ond ar y dybiaeth fod Duw ; ac nis gellir addef fod ffeithiau hollol anesboniadwy heb aberthu rhesymoldeb pob peth. Byd heb feddwl na rheswm fyddai byd heb Dduw, ac felly y mae'r dybiaeth fod Duw y mwyaf anhebgorol o bob tybiaeth a reola fywyd.

2. *Cylch gwasanaeth Rheswm.*—Pell gan hynny yw gwaith ac ymchwil rheswm o fod yn ddiffrwyth. Daliai Kant mai ei gwaith oedd clirio a chywiro'r wybodaeth am Dduw, a

brofai natur foesol dyn ei bod yn wir; ac nid gorchwyl bach yw hynny. Diau fod rheswm wedi cyflawni rhan bwysig ym mhob cynnydd a datblygiad a fu erioed yng ngwybodaeth dyn o Dduw. Dengys hanes crefydd mai trwy bersonau arbennig y cafodd dyn bob gwybodaeth newydd o Dduw; gall fod y personau hynny yn ysbrydoledig neu ddwyfol, ond un nodwedd amlwg ynddynt oll yw eu rhesymoldeb; ac ni wnaeth nag Ysbryd na Duw ddatguddio ei hun ynddynt ar wahan i'w rheswm eu hunain. Erys ymchwil rheswm o hyd yn rhan o yrfa datguddiad. Ond nis gellir gwahanu gwybodaeth ac argyhoeddiad oddiwrth eu gilydd; y mae rheswm yn elfen nid yn unig yng nghynnwys, ond yn sicrwydd gwybodaeth dyn. Sigledig iawn fyddai argyhoeddiad crefyddol na orffwysai ar beth gwybodaeth; ac nis gellir meddwl am Dduw yn ei berthynas â phob peth, heb fod y sicrwydd o'i fodolaeth yn tyfu gyda phob cynnydd gwybodaeth. Nid yn unig cydwybod, ond holl natur dyn sydd yn gofyn fod Duw. Swm gwybodaeth dyn am Dduw gan hynny yw cyd-dystiolaeth holl gydwybodau a phrofiadau crefyddol y byd, ac holl reswm y byd mewn cydweithrediad parhaus â'u gilydd. Ym mhrofiadau crefyddol dynion y rhoddir Duw i'r byd, ac yn arbennig ym mhrofiadau y puraf a'r uwchaf, a'r goreu; ond rheswm sydd yn ei ddirnad a'i amgyffred, ei esbonio a'i egluro Ef. Proffwydi ac eglwysi, Ysgrythyrau a chredoau a roddant

i'r byd y syniad o Dduw, ond nid heb reswm; ac y mae gofyn parhaus am i reswm i eangu a dyfnhau gafael y syniad ar ffeithiau profiad cyfan y byd, ac i gyfoethogi ac egluro ei gynnwys. Mewn athroniaeth rhoddir y pwyslais mwyaf ar waith rheswm, ac mewn duwinyddiaeth ar ddatguddiad y profiad crefyddol fel y cyfryw, ond nid yw'r ddau ond dwy ochr yr un gwirionedd cyfan.

3. *Prif bwyntiau'r wybodaeth o Dduw.*—Gellir wrth derfynu nodi'r prif bwyntiau yn y syniad o Dduw a roddwyd ar y dechreu fel datguddiad crefydd, ac a ategir gan reswm ar sail profiad cyfan dyn.

(*a*) Ysbryd yw Duw; y mae yn Fôd hunanymwybodol, yn meddwl, ewyllysio a theimlo ynddo ei hunan; perthynas meddwl â'i wrthrych yw ei berthynas Ef â'r byd. Y mae argraff meddwl ar y byd ym mhob man, ac nis gall fod ond mewn perthynas â meddwl. Cynhwysa meddwl nid yn unig ddeall, ond hefyd ewyllys a theimlad, ac y mae yn y byd nid yn unig drefn resymol, ond hefyd allu, a gwerth ac amcan moesol, ac nis gall y meddwl sydd yn ei gynnwys fod yn llai nag Ysbryd sydd yn meddu hyn oll.

(*b*) Ffordd arall o ddweyd yr un peth yw fod Duw yn Berson. Y mae angen gosod y pwynt hwn yn eglur, am fod cymaint tuedd i feddwl am Dduw fel rhyw sylwedd anelwig,

neu fel cyfundrefn o syniadau amhersonol, ond nis gallai feddwl y byd heb ei fod o leiaf yn Berson. Nid oes feddwl nad yw yn bersonol, ac nid oes fyd heb feddwl personol i'w feddu fel gwrthrych, a'i amgyffred fel cyfundrefn; a'r hyn sydd wir am bob meddwl sydd raid fod yn wir hefyd am y meddwl cyffredinol yn yr hwn y mae pob peth yn cydsefyll. Diau y gwahaniaetha ei bersonoliaeth Ef oddiwrth eiddo dyn; y mae ei ymwybyddiaeth o hono ei hunan yn berffaith, ac ni chyfyngir arno gan delerau a gwrthrychau o gread neb arall.

(*c*) Ym mhersonoliaeth Duw y gwelir ei fod ar unwaith yn sefyll uwchlaw'r byd, ac yn treiddio trwyddo oll,—yn uwchfodoli ac yn mewnfodoli. Ceir y ddwy ffaith mewn modd amherffaith ym mhersonoliaeth dyn. Y mae Hunan dyn mewn un ystyr yn sefyll ar wahan i'w gorff, i'w deimladau, i'w feddyliau, yn edrych arnynt, yn ymwybodol ohonynt, yn ewyllysio a phenderfynu eu symudiadau a dull eu bodolaeth; ond o'r tu arall y mae y rhai hyn oll o fewn yr Hunan, a'r Hunan yn cael ei fodolaeth ynddynt. Felly y mae Duw uwchlaw'r cread, yn ymwybodol o hono, yn ei ewyllysio a'i lywodraethu; ond am hynny y mae Efe hefyd yn y cread, a'r bwriadau a'r meddyliau sydd yn llifo allan o'i bersonoliaeth uwchfodol Ef yn cymeryd ffurf, yn ymgnawdoli, yn sylwedd, deddf, a threfn gweithrediad y cread.

(*d*) Y mae Efe felly yn anfeidrol yn yr ystyr nad oes dim y tu allan iddo'i hunan a gyfynga arno; ac yn hollalluog yn yr ystyr o feddu pob gallu sydd; ond y mae yn gyfyngedig mor bell ag y mae wedi ewyllysio creu byd i fod yn wrthrych iddo, ac yn ddatguddiad o hono ei hunan. Gormod gorchwyl fyddai ceisio penderfynu yn fanwl yn y fan hon berthynas Duw â'r byd, ac ystyr creu; ond golyga mai trwy ewyllys a bwriad Duw y bodola pob peth fel y maent, a'i fod yntau o'i fodd wedi dewis ymostwng i delerau creadigaeth, ac wedi aberthu ei anibyniaeth mor belled a gwneyd lle i'r byd i gydfodoli âg Ef.

(*e*) Am ei fod yn Ysbryd ac yn Berson, yn ymwybodol o hono ei hunan, ac yn penderfynu ei fodolaeth ei hunan a phob peth arall, y mae Efe yn Fôd Moesol. Gesyd iddo ei hunan amcanion, ac o'i wir ewyllys gweithia hwynt allan yn ei fywyd ei hunan, ac yng nghwrs bodolaeth y byd. Datguddir ei natur foesol yn arbennig mewn bodau moesol a greodd Efe ar ei lun ac ar ei ddelw ei hunan, yn gyfrannog o'i natur Ef, yn bersonau ysbrydol, yn ewyllysio a chyflawni amcanion fel Efe. Golygai ymostyngiad ac aberth drachefn yn Nuw i greu bodau moesol fel Efe ei hunan, yn meddu rhyddid ewyllys fel yntau; yn yr aberth hwn yr oedd goddef drwg a phechod yn oblygedig. Ond felly y cyflawnai Duw ei natur foesol, ac y gweithredai ei gariad, trwy roddi o berffeithrwydd ei natur foesol a'i

ddedwyddwch ei hunan i bersonau ereill, a allent fyw mewn perthynas foesol ac yn undeb cariad âg Ef. Iawn yw dweyd ei bod yr un mor anhawdd, neu yn fwy felly, i amgyffred yn gyson gyda'i gilydd, berffeithrwydd hunan-ddigonol a gweithrediad moesol Duw, ag yw i amgyffred anibyniaeth Bôd hunanddigonol a chreadigaeth ynghyd. Sut y gall Duw anfeidrol berffaith ac hunanddigonol osod bwriadau iddo ei hunan, a'u sylweddoli yng nghwrs araf amser, a chaniatau ewyllysiau rhyddion ochr yn ochr âg Ef ei Hun, sydd gwestiynau nad all dyn byth eu hateb yn llwyr, tra yn meddwl o dan delerau lle ac amser. Ond daw perffeithrwydd pennaf Duw, ei ddaioni a'i gariad, i'r golwg yn fwyaf oll yn ei ymostyngiad i greu byd, ac yn arbennig i greu byd moesol, lle y ca dynion megis duwiau fyw a meddwl a charu ac ewyllysio a chreu eu bydoedd hwythau hefyd.

(*f*) Cyrhaedda gweithrediadau natur foesol Duw yn y cread eu heithafbwynt a'u nôd yn ei ddatguddiad o hono'i hunan i ddyn. Pe buasai Duw wedi creu iddo'i hunan yn unig, ychydig neu ddim gwahaniaeth a wnai hynny, mwy na phe buasai heb greu. Yr hyn rydd ystyr i'r cread yw ei fod yn gread i feddyliau ac ysbrydoedd ereill i'w amgyffred a'i feddu hefyd. Nid yw neb yn rhoddi mewn gwirionedd os na fydd rhywun yn derbyn. Nid aethai Duw allan o hono ei hunan mewn

gwirionedd, ac ni buasai le i haelioni ei gariad i lifo, heb iddo greu bodau fel Efe ei hunan i allu ei dderbyn a'i feddiannu,—bodau cymdeithasol allent fyw mewn perthynas barhaus o roddi a derbyn âg Ef. Ffordd a thelerau hunan-ddatguddiad Duw i ddyn yw ei holl weithredoedd mewn cread ac hanes, a chyrhaedda yr oll ei amcan Ef a'i huchaf-bwynt hwythau, pan ddygir dyn a Duw i berthynas bersonol â'u gilydd. Ac yn y fath gymundeb personol rhwng dyn a Duw, y gwneir i fyny i ddyn ddiffyg pob casgliad rhesymol, a gwendid ei ddirnadaeth, am natur a bodolaeth Duw. Nis gall dyn feddwl ac amgyffred pob sylwedd a gweithrediad fel y meddylia Duw hwynt, er y gall trwy feddwl ymbalfalu am dano Ef; ond pan gyrhaedda Duw ei fwriad moesol, caiff dyn brofiad personol o hono; ac yng nghyffyrddiad ewyllys ac ewyllys, a pherson a pherson, daw'r syniad am Dduw oedd aneglur ac ansicr tra yr ymbalfalai dyn wrth oleu rheswm mewn cread ac hanes, yn argyhoeddiad byw i'w holl ysbryd. Nid rhyfedd yw felly os y cyrhaeddodd mynediad allan Duw o hono'i hunan, a'i ddatguddiad o hono ei hunan, eu heithafbwynt a'u cyflawnder, mewn dyn a dderbyniodd ynddo'i hunan holl gyflawnder y Duwdod, a ddaeth yn wir lun ei berson Ef, ac a grynhodd ynghyd ynddo'i hunan yr holl bethau sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear.

# MYNEGAI A GEIRIADUR.